# Y LLYFR
# Gwybodaeth y Cymro,
NEU
# HANES Y
# BYD A'R AMSEROEDD.




GAN

Y Diweddar Barch. Simon Thomas,

GWEINIDOG YR EFENGYL.

*ARGRAFFIAD NEWYDD DIWYGIEDIG,*

YN CYNWYS

NODAU EGLURHAOL AR AMRYW HANESION TYWYLL YN YR ARGRAFFIADAU BLAENOROL.

*CAERNARFON:*

ARGRAFFEDIG AC AR WERTH GAN PETER EVANS, YN HEOL Y CASTELL.—1824.

Gwerth 2s. 6c.

# At y Darllenydd.

*MAWR achos sydd genyt i fendithio a chlodfori Duw, Tad y goleuni, am yr amryw foddion wyt yn fwynhau tu ag at dy hyfforddiad yn y pethau a berthynant i'th hapysrwydd tragywyddol. Yn enwedig, dylit wneuthur mawr gyfrif o'r rhagorfraint arbenig hóno, sef dy fod yn mwynhau pur air Duw yn y cyfryw dafodiaith yr ydwyt yn ei deall. Rhagorfraint nid bychan yn ddiau ydyw, os ystyri pa nifer o wledydd lluosog o drigolion sy eto yn y fagddu o dywyllwch ysbrydol, y rhai y mae hyfryd sain yr efengyl yn beth dieithr iddynt. Os edrychi yspaid ychydig oesoedd yn ol, cai weled fod dy hynafiaid hwythau yn y wlad hon gynt mewn eigion tywyllwch: eu crefydd oedd yn sefyll mewn amrywiaeth diderfyn o seremoniau Pabaidd; ac am yr ysgrythyr lân, yr oedd megis wedi ei chloi i fynu rhagddynt yn yr iaith Lading. Felly gelli ddywedyd mewn ystyriaeth amgen, a mwy godidog, na'r hen Fardd Rhufeinaidd gynt,*

Ego me nunc denique natum. OVID.

GRATULOR.

Ei gyfri' rwy 'n uchelfraint imi,
Yn yr oes hon i'm gael fy ngeni.

*O herwydd, yn awr (trwy fawr ddaioni y Goruchaf, yr hwn a ymwelodd yn drugarog â'n gwlad) y mae genyt gyfleustra helaeth tu ag at ddyfod i wybod pa fodd y dylit rodio a boddloni Duw; canys rhai gwŷr da yn ddiweddar (y rhai y parha eu clod yn hir trwy holl eglwysi Cymru) a fuant offerynol i wneuthur y Bibl Sanctaidd yn dra chyffredin yn ein gwlad: eraill a gymerasant fawr boen i gyfieithu amryw lyfrau da, yn cynwys athrawiaeth iachus, o'r Saesonaeg i'r Gymraeg, er addysg ac adeiladaeth y cyffredin-bobl. Nifer nid bychan hefyd sydd yn llafurio beunydd y'ngwaith y weinidogaeth. Felly, gelli, trwy yr amryw gynorthwyadau hyn, gyrhaedd y cyfryw fesur o wybodaeth mewn pethau ysbrydol*

hono, trwy hyny, achlysur i ryfeddu, ofni, ac anrhydeddu y Duw bendigedig; ïe, ac i ymddiried ynddo megis un ag sydd gadarn a galluog i'w amddiffyn, ac i'w wneuthur yn hapus yn dragywydd.

Pa gyfryw wersau a ddylem eu dysgu er ein hadeiladaeth a'n diddanwch, trwy ystyriaeth o'r anfeidrol allu, doethineb, a daioni, sy'n ymddangos yn ngweithredoedd y Goruchaf; efe ei hun a ddengys i ni mewn amryw fanau o'i air, megis Es. 40. 25, &c. "I bwy gan hyny i'm cyffelybwch, ac i'm cystedlir, medd y Sanct? Derchefwch eich llygaid i fynu, ac edrychwch pwy a greodd y rhai hyn, a ddwg eu llu hwynt allan mewn rhifedi: efe a'u geilw hwynt oll wrth eu henwau; gan amlder ei rym ef, a'i gadarn allu, ni phalla un. Paham y dywedi, Jacób, ac y lleferi, Israel, Cuddiwyd fy ffordd oddiwrth yr Arglwydd, a'm barn aeth heibio i'm Duw? Oni wyddost, oni chlywaist, na ddiffygia ac na flina Duw trag'wyddoldeb, yr Arglwydd, Creawdwr cyrau y ddaear? Ni ellir chwilio allan ei synwyr ef, yr hwn a rydd nerth i'r diffygiol, ac a amlhâ gryfder i'r dirym."

Eithr mawr, aruthr a gresynol, yw y syrthni sydd yn meddiannu y rhan fwyaf o ddynion; canys er bod o honynt yn perchen eneidiau rhesymol, ac anfarwol, eto, o ran eu syrthni a'u hanystyriaeth, anifeilaidd ydynt. Tra chymwys y perthyn iddynt yr achwyniad hwnw, "Ar waith yr Arglwydd nid edrychant, a gweithred ei ddwylo ef nid ystyriant." Hwyrfrydig ydynt i ddal sulw ar fawr wyrthiau yr

Hollalluog, er eu bod yn dangos yn amlwg, ac yn datgan yn uchel, fawredd ei allu, ac ardderchawgrwydd ei ddeall.*

Eto, yr oedd rhai y'mhob oes, a roe'nt y gogoniant dyledus i ragorol allu a doethineb y goruchaf Dduw: rhai oedd hoff ganddynt chwilio a datgan ei fawr amryw ryfeddodau ef y'ngwaith y creadigaeth, fel y gallent ddywedyd gyda'r Salmydd, "Llawenychaist fi, O Arglwydd, â'th weithred; y'ngwaith dy ddwylaw y gorfoleddaf." Sal. 29. 4. Ië, nid yn unig y'mysg pobl briodol Dduw, ond hefyd y'mysg y cenhedloedd, bu amryw a gymerent fawr boen i astudio ac i ystyried gweithredoedd y Creawdwr mawr, ac i chwilio dirgelion natur, sef yr holl philosophyddion cenhedlig: er na's darfu i'r rhai'n wneuthur y cyfryw ddefnydd da ag a ddylasent o'r wybodaeth honno o Dduw, a gyrhaeddasant trwy ystyriaeth o'i weithredoedd ef: megis y mae'r apostol yn dywedyd, Rhuf. 1. 21, &c. "Oblegid a hwy yn adnabod Duw, ni's gogoneddasant ef megis Duw, ac ni buant ddiolchgar iddo; eithr ofer fuant yn eu rhesymau. A newidiasant ogoniant yr anllygredig Dduw i gyffelybiaeth llun dyn llygredig: O ba herwydd (sef am iddynt, yn modd hwn, atal y gwirionedd mewn anghyfiawnder) Duw a'u rhoddes hwy i fynu yn nhrachwantau eu calonau, ac i wŷniau gwarthus."

Yr oedd yr hen Aiphtiaid‡ wedi gwneuthur proffesiad mawr mewn dysgeidiaeth ddynol,

---

*Sal. 104. Esa. 51. 12, 13. Jer. 5. 22. a 10. 10, 16. ‡ Yn yr oesoedd cyntaf, y cyfryw a ewyllysient fod yn Philosophyddion, a aent i'r Aipht, er mwyn cael cymdeithas y gwyr doethion a dysgedig yno.

a'r celfyddydau ysgolheigaidd, mor gynar ag amser Moses, megis y gallwn gasglu oddiwrth yr hyn y mae'r ysgrythur yn ei grybwyll.

Y Caldeaid (y rhai a dderbyniasant eu dysgeidiaeth, fel yr ydys yn tybied, oddiwrth yr Aiphtiaid) hwythau hefyd oeddent, yn yr hen amseroedd, yn enwog mewn dysgeidiaeth, yn enwedig yn y disgyblaethau *astronomaidd*.

Y'mysg y Persiaid yr oedd philosophyddion a elwid yn eu hiaith hwy, y pryd hwnw, *magi:* a rhai o'r *magi* yma oedd y gwyr doethion yr ydym yn darllen eu dyfod i anerch ein Iachawdwr ar ei enedigaeth. Mat. 2. 1.

Eithr y'mysg y cenhedloedd, y rhai mwyaf godidog mewn pob math o ddysgeidiaeth ddynol, oedd y Groegiaid; (er mai oddiwrth yr Aiphtiaid a'r Caldeaid y benthyciasent hwythau eu dysg ar y cyntaf:) ac o'r philosophyddion Groegaidd yma yr oedd amryw sectau; rhai o honynt y mae St. Luc yn crybwyll am danynt yn Act. 17. 18. lle y dywedir hefyd pa mor ymofyngar oeddent am wybodaeth: ïe, cymaint oedd y rhai'n yn ragori ar bawb eraill oddi amgylch, a'r cyfryw oedd eu tyb dda am danynt eu hunain, fel yr oeddent yn cyfrif yr holl fyd, heblaw hwy eu hunain, yn rhai anifeilaidd, diwybod, a diddysg farbariaid. Ond yn yr oes ddiweddaf aeth heibio, darfu i Dad y goleuni (oddiwrth yr hwn y mae pob dawn berffaith yn dyfod, ac oddiwrth yr hwn y mae pob gwybodaeth ddymunol a buddiol yn deillio) megis agoryd drws i ddynion ganfod i ddirgelion gwaith ei ddwylaw ef, tu hwnt i'r hyn a gyrhaeddasai holl oesoedd y byd o'r blaen.

Canys nid oedd yr hen Aiphtiaid (yr ysgolheigion hynaf y'mysg y cenhedloedd,) na'r Caldeaid, y rhai oeddent yn cael eu cyfrif yn hynod am eu rhag-wybodaeth o bethau i ddyfod, na philosophyddion y Persiaid, na holl sectau doethion y Groegiaid, na dwy ysgol hynod y *ffreiers* pabaidd,* y rhai a wnaethant gymaint o dwrdd a sŵn yn y byd yn yr oesoedd diweddaf; (nid oedd y rhai hyn oll, meddaf) ond megis yn gwag-siarad, neu yn ymbalfalu yn y tywyllwch, mewn cyffelybrwydd i'r goleuni a'r gwybodaeth a gyrhaeddwyd yn y dyddiau diweddar hyn. A gallwn ddywedyd yn hŷf, fod yn yr amser hyn wŷr† a gyrhaeddasant wybodaeth o bob dysgeidiaeth ddynol, yn enwedig o ryfeddol weithredoedd Duw yn y greadigaeth, tu hwnt i neb a fu erioed ar wyneb y ddaear, oddieithr, fe allai, Adda neu Solomon.

Y gwyr hyn, a'r cyfryw, ydynt yn mynegu yr hyn a wybuant i eraill o'r byd, ac yn eu gwahodd i ddal sulw, ac i ryfeddu tra ardderchog weithredoedd yr Hollalluog.

Ni's gallwn, gan hyny, lai na barnu y bydd yn beth cymeradwy gan bawb glywed y dysgedigion yn adrodd yr hyn a ddeallasant uwchlaw eraill o wyrthiau Duw yn y ddaear yr ydym yn preswylio arni, ac yn y ffurfafen fawr sydd yn ei hamgylchu.

"Y nefoedd (fel y dywed y Salmydd) sy'n datgan gogoniant Duw; a'r ffurfafen sy'n mynegu gwaith ei ddwylaw ef." A diau ydyw,

* Y Dominiciaid a'r Franciscaid. † Sir Isaac Newton, Mr. Boyle, Mr. Flamsted, Dr. Whiston, Dr. Halley.

fod y cyrph gogoneddus a disglaer sy'n ymddangos yn ffurfafen y nefoedd (y rhai ydynt mor ryfeddol eu maint, mor drefnus a chyson eu cwrs a'u symudiad) yn croch-ddatgan, ac megis yn dyfal bregethu dirfawr allu, ac aneirif ddeall y Creawdwr bendigedig.

Y mwyaf rhagorol a hynod, y'mysg y llu nefol gweledig, yw yr haul; yr hwn sy' megis y cyntaf-anedig y'mysg y creaduriaid defnyddiol gweledig: canys yn y dydd cyntaf y dywedodd Duw "Bydded goleuni, a goleuni a fu." A'r haul yma a ddarparodd efe i fod megis yn ffynon ddihyspydd o oleuni dros holl oesoedd y byd.

Fe allai y barnai rhai am ei faint ef, yn ol yr hyn y mae'n ymddangos i'n golwg ni yma ar y ddaear; eithr, yn ddiau, glôb neu fyd dirfawr o dân ydyw, yn gwasgaru gwrês a goleuni i bellder anfesurol: a sicr yw ei fod yn llawer mwy na'r globyn hwn o dir a môr yr ydym ni arno; ie, y rhai mwyaf gwybodol yn y gelfyddyd sêryddawl ydynt yn cytuno ei fod lawer mil o weithiau yn fwy na'r ddaear. Ei ymddangosiad i ni sydd gyfatebol i'w bellder oddi wrthym; yr hyn sydd y'nghylch pymtheg a phedwar ugain mil o filoedd o filltiroedd. Heblaw ei ymddangosol symudiad o amgylch y ddaear mewn pedair ar hugain o oriau, y mae hefyd yn troi yn hyny o amser megis ar ei ddau begwn; fel nad yw yr un tu neu ochr iddo bob amser tu ag atom ni; eithr troi yn wastadol y mae, fel olwyn fawr, ar ei echl.*

* Yr haul a rydd un tro ar ei ddau begwn mewn pum' niwrnod ar hugain a chwe' awr.

Y'mysg goleuadau y ffurfafen, y mwyaf hynod, mewn perthynas i ni, yn nesaf at yr haul, yw y lleuad; yr hon gyda'r haul ydynt megis dwy chwaer, yn gweini yn oestadol i drigolion y ddaear, y naill yn absen y llall. (1) Y lleuad sydd lai o ran ei maint, nid yn unig na'r haul, ond hefyd na'r ddaear; a'r achos o ba herwydd y mae'n ymddangos i ni o'r un faint a'r haul, yw ei hagosrwydd atom. (2) O honi ei hun nid oes dim goleuni na disgleirdeb ynddi, mwy na'r ddaear; a'r llewyrch y mae'n roddi, y mae hi ei hun yn ei dderbyn oddiwrth yr haul, pelydr yr hwn sydd yn disgyn arni. (3) Mae yn ymddangos i ni yn rhoi un cylch o ddeutu'r ddaear, o'r dwyrain i'r gorllewin, mewn pedair ar hugain o oriau: eithr heblaw hyn, mae'n rhoddi un tro, oddiwrth y gorllewin, tu a'r dwyrain, o amgylch y ddaear mewn un mis; a'r tro* neu'r symudiad hwn sydd yn gwneuthur blaen, llawn, &c. (4) Y tywyllwch neu'r diffyg *(eclipse)* ar y lleuad, sydd pan ddigwyddo i gorph y ddaear attal pelydr yr haul rhag disgyn a disgleirio arni.

Heblaw yr haul, y lleuad, a'r sêr, mae hefyd amryw oleuadau neu gyrph disglaer yn y ffurfafen, a elwir planedau: y lleuad a gyfrifir yn un o honynt; a'r hen philosophyddion a gyfrifent yr haul hefyd y'mysg y planedau: Fe'u gelwir yn blanedau (hyny yw cyrph

* Hi a rydd hefyd un tro ar ei dau begwn mewn yspaid un mis; a'r tro hwn sydd yn peri i'r un parthau o'r lleuad gael eu troi yn oestadol tu ag at y ddaear: y lleuad sydd yn symud pymtheng milltir ar hugain, bob munud, o'r gorllewin tu a'r dwyrain.

crwydredig) o herwydd eu bod yn troi neu'n symud mewn modd amgen na'r haul a'r sêr. Oblegid y planedau, fe nodir (1) Eu bod yn troi o amgylch yr haul yn yr un modd ag y mae'r lleuad yn troi o amgylch y ddaear, sef o'r gorllewin tu a'r dwyrain. (2) Er eu bod yn ymddangos yn ddisglaer; eto, o honynt eu hunain, cyrph tywyll ydynt, ac oddiwrth yr haul y maent yn benthycio eu llewyrch, fel y lleuad. (3) Rhai o honynt ydynt yn nes at yr haul na'r ddaear, a rhai y'mhellach oddi wrtho. (4) Rhai o honynt ydynt yn llai na'r ddaear, a rhai yn fwy. (5) Y maent yn troi ar eu dau begwn fel yr haul.

Nid oedd yr hen philosophyddion yn cyfrif ond saith blaned yn unig, canys ni allasant hwy ganfod rhagor: eithr trwy gynorthwy y gwydrddrychau* rhyfeddol a rhagorol a ddychymygwyd yn ddiweddar, yr ydys yn canfod fod o honynt y'nghylch dau ar bymtheg: a thybied yr ydys fod ychwaneg, y rhai nid yw y gwydrau yma (er eu craffed) yn gallael cyrhaedd mo honynt. Eithr fe fydd i ni ddywedyd ychydig oblegid y bydoedd o blanedau (canys bydoedd ydynt) yn fwy neillduol.

O'r holl blanedau, yr agosaf atom yw'r lleuad: y mae hi yn dyfod yn hawdd dan fesurau y ddisgyblaeth *astronomaidd;* ac yr ydys yn gwybod ei bod ddeuddeg ugain mil o filltiroedd o bellder oddiwrth y ddaear, ac o gorpholaeth y'nghylch deugain o weithiau yn llai na'r ddaear: ei hamgylchiad neu ei

* Y drychau yma a arferwyd gyntaf gan Galileus, y'nghylch y flwyddyn 1610.

chwmpas sydd o ddeutu chwe' mil o filltiroedd.

Y blaned neu'r byd nesaf, uwchlaw y lleuad, a elwir Fenus, (felly y galwai yr hen philosophyddion ef:) y Cymry a'i galwant seren y dydd; ond yn wir nid seren yw; eithr, o hono ei hun, corph tywyll ydyw, megis y ddaear a'r lleuad: ac am ei ddisgleirdeb, goleuni'r haul sy'n llewyrchu arno. Yr ydys yn gadael ei fod o ddeutu tair gwaith yn llai na'r ddaear. Y mae ei bellder oddi wrthi y'nghylch deugain mil o filoedd o filltiroedd pan fo agosaf ati, a saith ugain mil o filoedd pan fyddo bellaf oddi wrthi. Mewn saith mis fe rydd un tro o amgylch yr haul: y naill haner o'r amser hyny, y mae i'w weled yn rhagflaenu'r haul y boreu; yr haner arall, fe ymddengys brydnawn yn ei ganlyn.

Y nesaf yw Mercury: hwn a rydd dro o amgylch yr haul mewn tri mis. Y mae hwn driugain mil o filoedd o filltiroedd oddiwrth y ddaear pan fo agosaf; a chwech ugain mil o filoedd pan fo bellaf: y mae'n fwy na'r lleuad, eithr yn llai na'r ddaear. Y blaned hon yw'r agosaf oll at yr haul.

Mars: Hwn sydd y'nghylch saith waith yn llai na'r ddaear; ei bellder oddi wrthym pan fo agosaf, yw deng mil ar hugain o filoedd o filltiroedd; a phan fo bellaf, dau can' mil o filoedd: efe a amgylcha'r haul mewn ychydig llai na dwy flynedd.

Yn nesaf, goruwch Mars, y mae Jupiter: y byd neu'r blaned hwn a gyflawna ei daith o amgylch yr haul yn yspaid deuddeng mlynedd: o ran ei faint, y mae'n rhagori ar y

ddaear; ei bellder mwyaf oddi wrthi, yw pum' can' mil o filoedd o filltiroedd; a thri chan' mil o filoedd pan fyddo agosaf. Y mae pedwar o blanedau* yn wastadol yn ei amgylchu ac yn ei ganlyn, yr un wedd ag y mae'r lleuad yn amgylchu'r ddaear.

Goruwch Jupiter, eto, y mae Sadwrn: hwn a orphen ei yrfa o amgylch yr haul mewn ychydig ragor i naw mlynedd ar hugain o amser: yntef hefyd sydd fwy na'r ddaear; ac y mae yn amgylchu hwn saith o blanedau llai nag ef ei hun: ei bellder oddiwrth y ddaear, pan fyddo agosaf ati, yw saith gan' mil o filoedd o filltiroedd, a naw can' mil o filoedd pan fo bellaf oddi wrthi.

Y bydoedd hyn oll a dderbyniant oddiwrth yr haul (yr hwn sydd yn gymwys yn eu canol) wrês a goleuni, bob un mewn gradd a mesur cyfatebol i'w hagosder ato, neu eu pellder oddi wrtho. Yr agosaf ato (fel y crybwyllwyd) yw Mercury: efe a rydd gylch o agos i chwech ugain mil o filoedd o filltiroedd o amgylch yr haul. Y nesaf yw Fenus: ei gylch ef o amgylch yr haul a gynwys dri chan' mil o filoedd o filltiroedd. ‡Yn nesaf ato y mae Mars; ei gylch ef sydd yn cynwys wyth gan' mil o filoedd o filltiroedd. Cylch Jupiter a'i ganlynwyr o amgylch yr haul a gynwys chwe' chant ar hugain o filoedd o filoedd o filltiroedd. Y pellaf yw Saturn,§ a'r bydoedd sydd yn

* Galilæus a ganfu y rhai'n gyntaf, o ddeutu'r flwyddyn 1610.

‡ Dealler yma, fod cylch y ddaear a'r lleuad, yr hwn sydd dros bum' can' mil o filoedd o filltiroedd, rhwng Fenus a Mars.

§ Canfuwyd planed arall tu hwnt i Sadwrn, gan Dr. Herschel, yn 1781, yr hon a elwir Uranus neu Georgium Sidus; dyma y bellaf oll.

ei ganlyn yntef:* ei gylch ef sydd naw cant a deugain o filoedd o filoedd o filltiroedd Eu symudiad hwynt oll yn eu cylchoedd sydd o'r gorllewin tu a'r dwyrain.

Gofynir, fe allai, Pa wahaniaeth sy' rhwng y planedau a'r sêr sy'n toi y ffurfafen? Ateb. (1) Y planedau a ymddangosant i'n golwg ni yn dra chyffelyb i'r sêr. Eithr (2) Y mae goleuni y sêr o honynt eu hunain; ond llewyrch yr haul yn unig ar y planedau a bâr iddynt ddisgleirio. (3) Y mae'r planedau yn troi o amgylch yr haul, felly nid yw y sêr. (4) Y planedau, er bod o honynt y'mhell iawn oddiwrth y ddaear, fel y dangosasom; eto, y maent hwy oll megis wrth glun, ac yn ein cymydogaeth, mewn cyffelybiaeth i'r sêr, y rhai ydynt oddi wrthym bellder annhraethadwy. (5) Y nod neu'r marc, trwy ba un y gall pawb wybod gwahaniaeth rhwng y sêr, pan fyddo i un edrych arnynt, maent yn ymddangos megis yn cyhwfan; ond y planedau a ymddangosant yn llonydd ac yn ddiysgog.

Cyn myned o honom y'mhellach, y mae'n gymwys i ni yma fynegi i'r anwybodus, nad oes dim o'r fath allu a gweithrediad gan y

---

* Y planedau sydd yn canlyn Sadwrn, a ganfuwyd gyntaf gan Cristianus Huygenus, a Monsieur Cassini, yn y blynyddoedd 1655, 1672, ac 1682.

Cyflymder symudiad y planedau sydd fel y canlyn, Mercury sydd yn symud un cant ar bymtheg o filltiroedd bob munud; Venus a symud tros un cant ar ddeg o filltiroedd bob munud; y ddaear sydd yn symud tros naw cant o filltiroedd bob munud; Mars a symud saith gant o filltiroedd bob munud; Jupiter sydd yn symud pedwar cant o filltiroedd bob munud; a Sadwrn a symud dri chant o filltiroedd bob munud. Uranus, neu Georgium Sidus, a symud tros gant o filltiroedd bob munud.

planedau ar ddynion a phethau daearol, ag yr ydys yn gyffredin yn ei dybied. Rhai coeg-ddynion a wnant fawr ymffrost o blegid eu gwybodaeth o bethau i ddyfod, trwy galandro a bwrw golygiadau ar y sêr a'r planedau (fel y galwant.) Mae'n achos o dosturi, weled y modd y mae y cyffredin bobl yn cymeryd eu twyllo a'u cam-arwain gan y cyfryw hudolwyr a'r rhai'n: a'r bobl ieuaingc ddylion, druain, O! mor ebrwydd y rhedant atynt i ddarllen eu tesni. Bobl anwyl! nid oes dim o'r fath beth; nid oes mor cyfryw wybodaeth i'w chael oddiwrth y sêr na'r planedau chwaith.

Yr achos yr oedd y byd yn gyffredinol yn cyfrif y fath rinwedd i'r planedau, oedd cam-gymeriad a choel-grefydd y rhai oedd yn myned gynt dan enw philosophyddion, a gwŷr dysgedig, ac hefyd gwendid y cyffredin bobl yn cymeryd eu twyllo a'u harwain ganddynt. Fe ddywedir, ysgatfydd, y dywed y tesniwyr yma lawer o wir: fe allai fod yn digwydd iddynt gwrdd â'r gwir weithiau; ac mi a ry-feddwn, pan fyddo i un ddywedyd llawer o bethau ar antur, oni ddywed efe hefyd beth gwir. Eithr fe ddywedir y'mhellach, fod rhai o honynt yn gwybod mwy nac eraill yn gy-ffredin; pe amgen, pa fodd y gallent ragddy-wedyd amryw bethau ag sydd yn digwydd yn ol yr hyn a ddarfu iddynt hwy ddaroganu? Mae'n sicr y gŵyr tywysog llywodraeth yr awyr lawer o bethau sy tu hwnt i ddealltwr-iaeth y rhai sy'n trigo mewn cnawd; ac nid yw ryfedd os ydyw y rhai sy mewn cyngrair ag ef, yn gallael gwybod a mynegi rhai pethau

sydd yn ddirgel ac yn ddiarwybod i eraill o'r byd: Eithr, lle maent yn cymeryd arnynt mai trwy eu scîl y'ngwybodaeth y ser a'r planedau y maent yn gwybod y cyfryw bethau, nid yw hyn ddim ond megis cochl neu orchudd, trwy ba un y maent yn ceisio celu eu cyfrinach â'r yspryd uffernol:—ac am y rhai a ymgynghorant â'r cyfryw ddynion, gwybyddant eu bod yn cadarnhau teyrnas y gelyn, ac yn sengu ar gyffiniau llywodraeth tywysog y tywyllwch.

Eithr, yn gymaint ag y digwydd i rai, fe allai, fod mor gywrain ag ewyllysio gwybod pa gyfryw ydyw gweithrediad y bydoedd o blanedau ar bethau daearol; neu pa mor belled y maent, os ydynt, yn gweithredu ar bethau yma ar y ddaear? Er boddlonrwydd i'r cyfryw, fe atebir, mai y'mysg holl oleuadau y ffurfafen, yr haul a'r lleuad yw y rhai y mae eu heffaith a'u gweithrediadau yn cyrhaedd y ddaear a'r pethau sydd arni; yr haul, oblegid ei fawr faint, a'i rinwedd tra-rhagorol a rhyfeddol; a'r lleuad o achos ei hagosder atom.

Am rinwedd yr haul nid yw ond afraid son; canys mae'n amlwg i bawb y modd mae y ddaear a'r pethau sydd arni yn newid eu gwedd, megis y mae'r haul yn nesau atom, neu'n pellau oddi wrthym. Yn y *Spring*, neu'r tymor Gwanwyn, ar ei agoshad atom, pa fath gynhyrfiad y mae'n ei wneuthur y'mhob math o blanhigion a dŷf trwy'r ddaear! Pa fath fywiogrwydd a llawenydd, a bâr ef y'mhob creadur byw! O'r tu arall, ar ei encil oddi wrthym yn yr Hydref, yr y'm yn gweled y modd mae y ddaear a'r pethau sydd arni yn newid eu gwy-

nebpryd drachefn, ac megis yn galaru eu colled o'u cynhesrwydd.

Am y lleuad hefyd, sicr yw, fod ei rhinwedd a'i heffaith hithau yn cyrhaedd pethau daearol; yn enwedig y mae hi yn gweithredu ar yr holl wlyboedd, sef ar y dyfroedd; ac ar yr awyr, yr y'm yn anadlu ynddi, ac ar y nodd sydd y'mhob math o blanhigion tyfedig, ac hefyd ar yr *humours* sydd y'nghyrph dynion ac anifeiliaid.

Yr ydys yn dal sulw fod y moroedd a fo tan gwrs y lleuad, fel y mae hi yn amgylchu'r ddaear, yn chwyddo ac yn llifo tu a phob traeth. Y tonau, pan elont i'w terfynau eithaf, a ymchwelant yn ol drachefn yn eu gwrthhynt, hyd oni chyfarfyddont yn y canol-fôr, ac felly yn ol drachefn mewn aflonyddwch a chythryfwl gwastadol:—hyn yr ydys yn ei wybod; eithr y'mha fodd y mae'r lleuad yn gweithredu mor rhyfeddol ar y dyfroedd mawrion hyn, Ef yn unig a ŵyr, "yr hwn a osododd y tywod yn derfyn i'r môr trwy ddeddf drag'wyddol, fel nad elo drostynt, gan ddywedyd, Hyd yma y deui, ac nid y'mhellach."

Y mae philosophyddion yn deall fod y lleuad hefyd, yn ol ei thymhorau a'i hamserau, yn peri cyfnewidiadau yn yr awyr. Ac os oes un amcan i'w wneuthur oblegid cyfnewidiad yr hin neu'r tywydd, trwy ddal sulw ar dymhorau ac amserau'r lleuad a chwrs yr haul y mae; ond y pethau hyn ydynt ansicr neu anhyspys. Eithr fod ei heffaith a'i gweithrediad hi yn mennu ar y sudd a'r nodd sy mewn llysiau a choedydd, ac hefyd ar gyrph pob creaduriaid byw, yr wyf yn tybied ei fod yn beth

y mae pawb yn gyffredin yn dal sulw arno, ac yn ei wybod.

Y rhai hyn meddaf, (sef yr haul a'r lleuad) yw y rhai mae eu gweithrediad a'u dylanwad yn cyrhaedd y ddaear a'r hyn sydd arni; a'r cyfryw ag a grybwyllwyd yw eu gweithrediadau: Eithr fod y ser a'r planedau, neu'r haul a'r lleuad 'chwaith yn arwyddocau damwain dyn, ac yn dangos pa fath fydd ei fywioliaeth ef tra fo'n y byd; pa gyfnewidiadau a throadau a fydd yn ei fywyd; pa ddigwyddiadau a gyfarfydd â hwynt; pa hyd fydd ystod ei fywyd, a'r cyffelyb bethau, (fod, meddaf, y cyfryw wybodaeth i'w chael oddi yma) camgymeriad mawr yw; a iawn y barnem y rheini yn annheilwng i'w goddef i gyfaneddu yn mysg dynion, ag a haerant y cyfryw beth. Nyni nis gwyddom, ac nis gallwn wybod, beth a ddigwydd i ni y foru. Holl ddamweiniau ein bywyd y'nt gydnabyddus yn unig iddo ef, "yn llaw yr hwn yr ydym fel y clai yn llaw'r crochenydd; a chyda'r hwn y mae rhifedi ein misoedd, a'r hwn a osododd ein terfynau fel nad elom trostynt."

Terfynau eithaf y byd gweledig, yw y lleoedd y mae'r ser ynddynt: fe debygid wrth edrych arnynt oddi yma, eu bod hwy i gyd o'r un bellder oddiwrth y ddaear; eithr barn y dysgedig yn gyffredin yw, er bod y ser nesaf atom y'mhell anhygoel, eto fod rhai tu hwnt iddynt, gymaint ag sydd oddiwrth y rhai agosaf hyd at y ddaear. Drachefn, er bod y ser yn ymddangos yn lluosog iawn, eto fe ddeallwyd yn ddiweddar, nad ydym ni yn gallael canfod *â'n golwg*, ond y rhan leiaf o honynt;

canys pan yr edrycher arnynt trwy y gwydr-ddrychau a grybwyllwyd, hwy a ymddangosant yn llawer mwy pentyraidd a lluosog nac o'r blaen; sef, y mae'r drychau hyn yn gynhorthwy i'r golwg i ganfod y cyfryw sêr nad allai o'r blaen weled, o herwydd eu pellder: ac yn gymaint a'u bod yn ymddangos o amryw faint, y mae philosophyddion yn cyfrif nad yw y rhai a ymddangosant leiaf, ddim llai o faintioli na'r lleill; eithr, fod o honynt yn ymddangos yn llai, o herwydd eu bod o aneirif bellder tu hwnt iddynt, yn yr ehangder mawr sydd yn eu cynwys.

Yr y'm yn gweled, pan yr edrychom tu ag i fynu, pan fo'r hîn yn eglur, fod rhyw fath o liw gwyrddlas yn terfynu ein tremiant:—fe allai y tebygai rhai am hwn, mai llèn ddurfing, galed, ddefnyddiawl ydyw, sydd yn cynwys yr haul a'r planedau a'r sêr, yn yr hon y maent yn troi o amgylch: "Duw hefyd a ddywedodd, Bydded goleuadau yn ffurfafen y nefoedd, i wahanu rhwng y dydd a'r nos." Gen. 1. 14. Y gair Hebraeg am ffurfafen, yw *racciang*, yr hwn sy'n arwyddocau llydan-le, ehangder, a gagendor; hyny yw *spâs* neu le rhydd ac ehang. Nid oes, gan hyny, o'r ddaear i derfynau eithaf y sêr, ddim o'r fath beth a llén galèd, ddurfing, fel yr oedd yr hen philosophyddion yn breuddwydio; nid oes, meddaf, dim ond *spâs* neu le rhydd o ehangder difesur, yn yr hwn y mae'r goleuadau nefol yn troi: ac am y lliw gwyrddlas a grybwyllwyd, nid yw hwn ddim amgen na'r awyr yr y'm yn anadlu ynddi, a thrwy yr hon mae *yr adar yn ehedeg*, a'r cymylau yn tramwy: yr

awyr, meddaf, ydyw yn gymysgedig â rhyw fath o fyg-darth y mae gwres yr haul yn dderchafu o'r ddaear. A phe bae'm yn meddwl i un sefyll ychydig nifer o filltiroedd, (sef yn nghylch pedair a deugain) goruwch y ddaear, yna cai weled y lliw glas-wyrdd hwn rhyngddo a'r ddaear, eithr y sêr a welai eto yn eigion byd.

Eithr er bod y gwydr-ddrychau *astronomaidd* a grybwyllwyd, yn gyfryw ag y gellir yn dda eu cyfrif yn un o ryfeddodau'r byd; eto, nid ydys trwy gynorthwy y rhai'n chwaith, yn gallael cyrhaeddyd gwybodaeth mor fanwl ag y dymunid o'r sêr, a hyny o achos eu dirfawr bellder: ond yr ydys yn dirnad eu bod yn gyrph mawrion iawn; fod eu goleuni a'u llewyrch o honynt eu hunain; eu bod yn dra lluosog; ac nad ydym ni yn canfod â'n golwg ond rhan fechan, sef y rhai nesaf atom, o'r afrifed lu sydd o honynt. Nid heb achos, gan hyny, y gelwir yr hwn a'u crëodd ac sydd yn eu trefnu, "Yr hwn a ddwg eu llu hwynt allan mewn rhifedi, ac a'u geilw hwynt oll wrth eu henwau, fel na phallo un." tra chymwys, meddaf, y gelwir ef yn ARGLWYDD Y LLUOEDD; a iawn y gweddai i ni (pan edrychom ar waith ei fysedd yn ffurfafen y nefoedd) ddywedyd gyda'r Salmydd, "Pa beth yw dyn, i ti i'w gofio? a mab dyn i ti ymweled âg ef? Sal. 8. 4.

## AM Y DDAEAR.

BELLACH, deuwn i ystyried pethau nes atom; sef, i gymeryd golwg ychydig fwy neillduol o'r Ddaear yma yr y'm yn preswylio arni.

Y mae'r ysgrythur lân, yn sathredig, yn dosparthu gweithredoedd Duw i'r ddwy ran hyn, sef nefoedd a daear: tebygid felly, fod y ddaear yn rhan fwy godidog o'r greadigaeth nac yn wir y mae: eithr y mae i ni ystyried, mai diben yr ysgrythur ydyw, nid rhoddi i ni fanwl gyfrif o weithredoedd y greadigaeth, ond dyfod â dynion i adnabyddiaeth o Dduw, a'u cymhwyso yn eu heneidiau i'w wasanaethu ef yma, ac i'w fwynhau ef yn y byd a ddaw; ac am hyny, mae'r Ysbryd Glân yn sôn am ranau y byd gweledig, megis y maent mewn perthynas i ni, neu fel maent yn ymddangos i ni;* yn gymaint nad yw gwybodaeth gywrain a neillduol yn y pethau hyn, yn angenrheidiol tu ag at fyw bywyd sanctaidd a chrefyddol.

Yn awr am y ddaear, er ei bod yn gorph maith; eto, nid yw ond rhan fechan o weithredoedd y Creawdwr mawr: canys y mae aneirif o gyrph o fewn ein golwg o ran godidawgrwydd eu maint, a'u dysgleirdeb, yn ei rhagori y'mhell. Eithr, er bod y ddaear yn yr ystyriaethau hyn, yn rhoddi lle iddynt hwy; eto, mae hyn fel yn rhagorfraint iddi hi, uwchlaw yr holl gyrph nefol; sef mai hi a ddar-

---

* Felly y gelwir y Lleuad yn oleuad mawr, Gen. 1. 26. sef o herwydd ei bod hi felly mewn perthynas i ni; er mai un o'r lleiaf *o'r holl blanedau ydyw.*

parodd Dûw i fod yn breswylfod i'r rhywogaeth benaf, onid un, o'i holl greaduriaid; canys "Y ddaear a roddes ef i feibion dynion, y rhai nid ydynt ond ychydig îs na'r angylion." Sal. 115. 16. a 8. 5. Y ddaear (neu'r glôbyn mawr o fôr a thir yr y'm ni arno) o ran dull ei chorpholaeth, sydd dalgron neu *round*, sef yn gron bob ffordd: ei chwmpas ydys yn adael i fod o ddeutu pum' mil ar hugain o filltiroedd; corph mawr a thrwmddwys, heb ddim yn ei amgylchu ond awyr deneu! Onid mawr a rhyfeddol yw y gallu sy'n ei reoli ac yn ei gynal!

Dwy waith yn y flwyddyn, sef yr unfed ar hugain o fis Mawrth, a'r unfed ar hugain o fis Medi, mae'r haul megis yn cerdded yn gymhwys uwch ben canol y ddaear:—gadewch i ni feddwl fod yr haul, y ddau ddiwrnod hyny, megis yn gwneuthur cylch neu *lein** a ranai y ddaear megis yn ddwy ran. Y rhai sydd yn preswylio yn agos i'r *lein* yma, y rhai mae'r haul yn gymhwys uwch eu penau y ddau amseroedd hyny, mae'r dydd a'r nos o ddeutu yr un hyd iddynt trwy'r holl flwyddyn; sef deuddeg awr y naill, a deuddeg awr y llall. Y rhai ydynt yn preswylio fil o filltiroedd tu yma i'r *lein* honno, sef yn nes at y gogledd, mae'r dydd hwyaf yn y flwyddyn iddynt hwy yn dair awr ar ddeg o hyd: i'r rhai sydd ddwy fil, yn bedair ar ddeg; ac i'r rhai sydd dair mil, yn bymtheg: i'r rhai sy'n byw bedair mil o filltiroedd tu yma i'r *lein* (megis yr ydys yn gadael ein bod ni y'Mrydain) y mae'r dydd hwyaf yn y

---

* *The Equinoctial* line, Equator, llinell y Cyhydedd.

flwyddyn o ddeutu dwy awr ar bymtheg o hyd. Pan eler chwe' chant o filltiroedd y'mhellach tu a'r gogledd, mae'r dydd hwyaf yn ugain awr o hyd: a phan eler eto ddeucant y'mhellach, fe'i cair yn bedair ar hugain: ac felly pan fyddo i un sefyll yn y fan hon, ni chyll mo'i olwg ar yr haul dros y pedair awr ar hugain: trwy fyned y'mlaen ddau cant o filltiroedd, cair yr haul yn y golwg tros fis: a phan eler eto y'mhellach bedwar cant o filltiroedd, sef i'r man a elwir Pegwn gogledd y byd, fe gair goleuni gwastadol dros chwe' mis; canys y mae'r haul yn troi o amgylch heb fachludo un amser. Y mae'n ymddangos i'r man yma gyntaf o ddeutu yr unfed ar hugain o Fawrth; ac o hyny allan daw nes nes hyd yr unfed ar hugain o Fehefin; yna, efe a ddychwel o fesur ychydig ac ychydig, hyd yr unfed ar hugain o fis Medi, pryd y cyll y lleoedd hyny eu golwg arno; ac ni welir ef yno mwyach dros chwe' mis, sef hyd yr unfed ar hugain o Fawrth; felly, nid oes yn y gwledydd hyny, yn y cyfamser, ond y tywyllwch a'r oerfel. Yn y lleoedd anghysurus yma, nid oes dim trigolion yn preswylio yn wastadol, oddieithr yn unig fod rhai o forwyr Lloegr, Holand, ac eraill, yn myned yno yn amser y goleuni, sef yn yr haf, i ladd môrfeirch er mwyn yr olew a gair ynddynt.

Yn yr un modd, o'r tu arall i'r *lein* a grybwyllwyd; megis y mae y gwledydd yn tueddu tu a'r dehau, y mae'r dyddiau hwyaf yn y flwyddyn yn hwyhau, hyd onid eler at begwn dehau'r ddaear, lle mae haner blwyddyn o oleuni, a'r un faint o dywyllwch.

Megis y mae'r creaduriaid a ordeiniodd Duw i breswylio ar y ddaear o amryw naturiaethau, felly y darfu iddo ef ddarparu lleoedd cyfaddas i'w cynwys hwynt oll: fel yr y'm yn darllen yn hanes y creadigaeth, Gen. 1. 9. "Duw hefyd a ddywedodd, Casgler y dyfroedd oddi tan y nefoedd i'r un lle, ac ymddangosed y sych-dir: ac felly y bu." fel y byddai i'r sych-dir fod yn gyfaneddfa gymhwys i bob perchen anadl; a'r moroedd i'r creaduriaid y rhai y mae eu natur yn cytuno â'r elfen ddwfr.

Cyn belled ag y mae'r dysgedig yn amcanu, mae y naill haner o arwynebiad y ddaear yn dir sych; a'r haner arall a orchuddir gan y dyfn-for. Mae y sych-dir hefyd wedi ei rannu yn ddwy ran, neu ddau barth: y naill ran o hono sydd dan gwrs yr haul o'r chweched awr o'r dydd, y boreu, hyd un awr ar ol canol dydd; sef, o'r cwr pellaf o *Asia* yn y dwyrain, hyd y cyrau nesaf i'r gorllewin o Spain ac *Affrica*. Y rhan arall sydd dan gwrs yr haul pan dueddo tu ag at y chweched neu'r seithfed awr ar ol haner dydd, ac o hyny y'mlaen hyd onid elo allan o olwg i ni yn y gwledydd hyn. Rhwng y ddwy ran fawrion hyn mae y môr a elwir *Attlantic* yn gwahanu.

Heblaw y tiroedd mawrion hyn, y mae hefyd megis *spotiau* bychain o dir sych yn sathredig yma ac acw trwy yr holl foroedd, y rhai a elwir ynysoedd; a'r cyfryw ydyw Brydain, ein gwlad ni ein hunain; canys ynys, eithr un o'r rhai mwyaf sydd yn bod ydyw.

Y'mhellach, y rhan gyntaf o'r sych-dir a grybwyllwyd, er ei fod i gyd o un parth, eto mae y dysgedig yn ei ddosparthu yn dair rhan.

Y rhan nesaf at y dwyrain o hono, a elwir *Asia*; y rhan nesaf at y dehau, *Affrica;* a'r rhan nesaf at y gogledd a'r gorllewin, *Europe.* Y rhai'n a alwant yn dair rhan o'r byd trigianol.

---

## ASIA

Sydd yn cynwys ynddi amryw deyrnasoedd cedyrn ac enwog, a llawer o wledydd breision a theg: sef y rhai canlynol,

*China*, hon yw'r wlad nesaf at y dwyrain o holl Asia: y mae hi yn ddwy fil a dau cant o filltiroedd o hŷd, a mil a phum' cant o filltiroedd o led. Yr ydys yn tybied i'r trigolion wladychu yma ychydig ar ol amser Noa; ac iddynt barhau o hyny allan yn ddigymysg: eithr yn ddiweddar, darfu i'r Tartariaid eu gorchfygu a chyfaneddu yn eu mysg. Y mae'r wlad yn ffrwythlon iawn, yn dwyn yn helaeth bob math a berthyn i gynhaliaeth dyn. Y mae ein marsiandwyr ni yn cael yma fŵyn aur ac arian, sidanau, a phob math o *speis*. Rhy hir a maith a fyddai i ni fynegu yn neillduol pa faint yw'r cyflawnder o gyfoeth bydol y mae'r wlad hon yn ei gynwys. Am eu crefydd nid oedd yma ond yr eulun-addoliaeth o'r dechreuad; rhai sy'n tybied i'r Efengyl gael ei phregethu yma yn amser yr apostolion: eithr os hauwyd yr hâd sanctaidd hwnw yno unwaith, darfu i'r hen eulun-addoliaeth ei oresgyn a'i ddiffodd mewn ychydig amser, fel na's dygodd fawr o ffrwyth yno erioed. Ond, yn ddiweddar, anfonodd y Pâb rai o'i offeiriaid yno i bregethu'r Efengyl; ac yr y'm yn clywed fod rhai o honynt yn cael eu troi i'r grefydd

abaidd: eithr nid yw hyn ddim ond tröadigaeth o un eulun-addoliaeth i'r llall.*

Y mae yn y moroedd cyfagos i'r wlad yma lawer o ynysoedd, y rhai ydynt yn cynwys lawer o drigolion, a chyflawnder o gyfoeth; eithr nid oes yn y rhai'n hefyd ond tywyllwch anwybodaeth, a ffiaidd eulun-addoliaeth.

Yn nesaf at China, tu a'r gogledd a'r gorllewin, mae gwlad fawr a helaeth a elwid gynt *Scythia;* ond yn awr *Tartari.* Y mae rhai cyfarwydd yn hanes y gwledydd, yn ysgrifenu o'i phlegid, ei bod yn bedair mil a phum' cant o filltiroedd o hŷd, ac o ddeutu dwy fil o filltiroedd o led: tra anial ac oerllyd ydyw, ac o achos hyny mae'r trigolion yn teneuach nac mewn gwledydd eraill; eto, os ystyriwn ei ehangder, gallwn wybod ei bod yn cynwys rhifedi nid bychan o bobl. Y mae rhai yn tybied mai trigolion y wlad hon yw Gog a Magog, a sonir am danynt yn Ezec. 38. a Dat. 20. 8. Eithr sicr yw, mai pobl erwin a chyfelgar iawn ydynt:—yn eu hymdriniaeth, a dull eu bywioliaeth, maent yn fwy esgeulus a budr na chenhedloedd eraill. Mewn perthynas i'w crefydd, paganiaid di-dduw ac eulun-addolwyr ydynt; rhai o honynt a arddelant grefydd Mahomet. Fe debygid, wrth rai hefodau y mae rhai o honynt yn eu harfer, i'r Efengyl gael ei phregethu yno ryw amser; eithr yr historiau ydynt dywyll yn y peth, felly nid oes genym ddim sicrwydd o'i blegid.

* Dalier sulw, fod Crist'nogion o amrywiol enwau, yn ddiweddar, wedi anfon cenhadon i'r wlad hon, y'nghyd a'r gwledydd a'r ynysoedd cymydogaethol, lle pregethir yr Efengyl yn ei phurdeb, ac y cyfieithir yr ysgrythyrau i ieithoedd y trigolion yn bresennol.

Y wlad nesaf tu a'r dehau a elwir *India*, mae'r rhan fwyaf o honi dan awdurdod penaeth neu emprwr mawr, a elwir Mogul. Y wlad sydd o ddeutu dwy fil a phedwar cant o filltiroedd o hŷd, a mil ac wyth cant o filltiroedd o led. Y mae'r deyrnas neu'r ymerodraeth yma yn gadarn ac yn gyfoethog iawn; a'r tir yn ffrwythlon ragorol. Ein morwyr ni ydynt yn marchnata yma, i gael sidanau, llieiniau teg (sef pob math o *galico* a *musling*,) *speis*, &c. Y mae'r trigolion gan mwyaf yn proffesu crefydd Mahomet. Y Mahomet yma, gallwn ddywedyd am dano, mai un o'r offerynau penaf a gafodd y cythraul erioed i ddistrywio eneidiau ydoedd. Bu amryw heresiau dinystriol yn amser yr apostolion, ac wedi: eithr ni buant gan mwyaf ond o fyr barhad. Ond y gau grefydd a lefelodd yr hudolwr hwn, a gynhaliwyd yn y byd, yn awr, dros un cant ar ddeg o flynyddoedd; ac y mae ei grefydd ef wedi ymdaenu dros lawer iawn o wledydd, fel yr ymddengys wrth yr hyn a ganlyn:

Fe ddechreuodd gymeryd arno fod yn brophwyd y'nghylch y flwyddyn o oed ein Harglwydd, chwe' chant ac un ar ddeg, mewn tref a elwir Mecca y tu dwyrain i wlad Judea. Yr athrawiaeth a ddysgodd i'w ganlynwyr, sy'n gynwysedig mewn llyfr a elwir Alcoran; ac y mae'r llyfr hwn mewn cymaint o barch gan y Mahometiaid, ag yw'r Bibl sanctaidd gan y Crist'nogion. Y mae'n caniatau rhyddid mawr i'w ddisgyblion, i foddloni eu chwantau cnawdol: a'r cyfryw bleserau sy'n gwneuthur i fynu'r hapusrwydd y mae'n addo iddynt yn y byd i ddyfod. Un gorchymyn arbenig a

adawodd ef i'w ganlynwyr, oedd, Ar iddynt arferyd y cleddyf, tân, ffagodau, a phob math o'r cyfryw foddion, i wneuthur lle i'w grefydd ef: ac yn ddiau, buant lwyddiannus iawn; canys bu y Mahometiaid, y'nghyd a'r Papistiaid, yn ddwy fflangell chwerw i eglwys Crist dros lawer o oesoedd. Caniataodd y Goruchaf iddynt godi i fynu, mae'n debyg, mewn ffordd o gospedigaeth ar ddynion "am na dderbyniasant gariad y gwirionedd, fel y byddent gadwedig."

Yn nesaf at yr India, tu a'r gorllewin, mae'r gwledydd sy' dan lywodraeth emprwr *Persia.* Y mae'r ymerodraeth, neu'r deyrnas fawr yma, o ddeutu pymtheg cant o filltiroedd o hŷd, a deuddeg cant o led. Y grefydd Fahometaidd sydd yma hefyd; oddieithr bod rhai mewn rhyw fanau yn myned tan enw Crist'nogion: eithr, yn wir, ni haeddant mo'r enw; canys nid ydynt ddim amgen na dilynwyr rhai o'r hen hereticiaid a fu yn y prif oesoedd.

Yn gyfagos i Persia, tu a'r dehau, y mae gwlad a elwir *Arabia.* Yr ydys yn gadael fod hon yn fil a phedwar cant o filltiroedd o hŷd, ac mewn rhai manau yn fil o led. Y mae hi, gan mwyaf, tu a'r dwyrain oddiwrth Judea; ond y mae rhai parthau o honi yn sefyll tu a'r dehau. Mewn rhyw fan o'r wlad hon (fel yr ydys yn tybied) yr oedd y frenhines honno yn teyrnasu, a ddaeth gynt i brofi doethineb Solomon. Y mae rhai manau o'r tir yn hynod uwchlaw pob rhyw wledydd ar wyneb y ddaear o herwydd yr amlder a'r llawnder sydd ynddo o bob math o ffrwythau gwerthfawr, aroglau peraidd, *Speis,* a'r *drugs* y mae'r apothecari

yn eu harferyd mewn meddyginiaeth. Mahometiaid yw'r trigolion o ran eu crefydd; ac yn y wlad hon y ca'dd y twyllwr Mahomet ei enedigaeth.

Tu ag at y gorllewin a'r gogledd, oddiwrth Arabia, y mae y wlad a sonir yn fynych am dani yn yr ysgrythur, sef *Canaan*; yr hon a elwir hefyd *Palestina*, a *Judea*: lle ffrwythlon iawn gynt; eithr, yn awr, (yn ol yr hanes y mae trafaelwyr yn roddi o'i phlegid,) y mae wedi myned yn rhyw fath o anialwch; fel y tebygid i felldith yr Hollalluog ddisgyn ar y tir, megis y mae yn amlwg ei bod yn dilyn yr hen breswylwyr, (sef yr Iuddewon) hyd y dydd heddyw. Y mae'r wlad dan reolaeth emprwr y Twrc; ac nid oes yno yn awr ond Mahometiaeth, oddieithr ambell fonachlog sy gan y monachod pabaidd, yn agos i'r man yr oedd yr hen Gaersalem yn sefyll.

* Oddiwrth Judea, tu a'r gogledd a'r dwyrain, y mae'r gwledydd hyn; sef, *Syria*, *Armenia*, *Assyria*, *Mesopotamia*, *Caldea*, a *Babilon*.—Mesopotamia a Chaldea, fel y tebygir, oeddent yn gwneuthur i fynu, mewn rhan, y Baradwys ddaearol honno, neu'r Eden

* Yr Iuddewon ydyw'r unig genedl y gellir dwyn eu hachau hyd at y dyn cyntaf Adda; gynt yr oedd yr enw Iuddew yn anrhydeddus, eithr yn awr, er ys llawer o oesoedd, mae'n ddirmygedig ac yn waradwyddus: canys o herwydd eu hir gwrs o anufudd-dod, ac yn ddiweddaf oll, (i gyflawni mesur eu hanwireddau) eu gwrthodiad o'r Iachawdwr, prophwydoliaeth Moses a ga'dd ei chyflawni arnynt hyd yr eithaf, Deut. 28. 37. O ran eu trigfan, y maent yn byw yn wasgaredig trwy yr holl wledydd; o ran eu cyflwr, y maent yn ddirmygus; na chyfrif na pharch nid oes iddynt gan neb o'r Cenhedloedd y'mysg y rhai y maent yn byw. Y lleoedd a ddewisant i breswylio ynddynt ydyw'r trefydd hynotaf am farsiandiaeth; y cyfryw fanau sy fwyaf cyfleus iddynt hwy; canys y maent yn byw gan mwyaf ar far-

y'mha un y gosodwyd y dyn cyntaf: canys yr ydys yn adnabod dwy o'r afonydd hyny y mae Moses yn son am danynt, Gen. 2. 10. sef, Hidecel ac Euphrates, ac y maent yn rhedeg trwy'r tiroedd yma. Y mae'r ardaloedd hyn oll dan lywodraeth emprwr mawr y Twrc, (yr hwn sydd a'i orseddfa yn Constantinople,) ac o'r grefydd Fahometaidd.

Tu a'r gorllewin, oddiwrth y gwledydd hyn, y mae gwlad fawr arall yn sefyll, a elwir *Natolia.* Y mae hi'n saith gant o filltiroedd o hŷd, a phum' cant o led. Natolia sy'n cynwys yr ardaloedd neilltuol hyn; sef, *Cappadocia, Galatia, Pontus, Bithynia, Asia fechan* (y'mha un yr oedd y saith eglwys y mae St. Ioan yn 'sgrifenu atynt yn y Datguddiad,) a thref y *Colossiaid,* y rhai yr ysgrifenodd Paul atynt, *Lycia, Pamphilia,* a *Cilicia.* Emprwr y Twrc sy'n rheoli ar y rhai'n; crefydd y Tyrciaid hefyd ydyw eu crefydd, sef Mahometiaeth: Y mae yno rai, yn wasgaredig, yn proffesu Crist'nogaeth, ac o gymundeb eglwys y groegiaid: eithr y maent yn gaethweision i'r Tyrciaid; canys felly y gorch'mynodd Mahomet i'w ddisgyblion, yn ei ewyllys diweddaf, mewn perthynas i'r sawl na dderbyniant ei grefydd ef; sef, Fod yn rhaid iddynt gael

---

siandiaeth, pedleriaeth, ac ocraeth. Yr apostol Paul sydd yn tystiolaethu am yr Iuddewon, yn ei amser ef, Fod ganddynt zêl Duw, er eu bod heb wybodaeth, Rhuf. 10. 2. Eithr yn awr, y zêl honno, y cyfryw ag ydoedd, a gollasant, mewn mesur mawr: canys o ran bydolrwydd, cybydd-dod, ffalsedd, a hocced, odid fod eu cyffelyb ar wyneb y ddaear: Ac am eu hymddygiad yn eu dyledswyddau crefyddol, nid ydynt yn dangos na zêl na phwyll; eithr brysio a wnant dros eu defosiynau pwyntiedig, yn dra chyffelyb i'r modd y mae y Papistiaid yn rhedeg dros yr Afe Maria, a'r cyfryw wersau. Hyd yn hyn, y mae toster Duw yn parhau tu ag at y bobl yma.

eu lladd, neu ynteu eu gwneuthur yn gaethweision.

Fel hyn yr aethom dros un parth o'r byd, sef Asia. Bellach awn trwodd tu a'r dehau, at y rhan nesaf, sef,

## AFFRICA.

Y wlad gyntaf a gyfarfyddwn â hi yma, yw yr *Aipht*, lle bu yr Israeliaid gynt yn goddef caethiwed caled, cyn eu dyfod i wlad Canaan. Y mae yr Aipht yn wlad hynod mewn amryw ystyriaethau. Y'mhen ychydig wedi y diluw, dechreuodd yr Aiphtiaid astudio'r celfyddydau dysgedig, pan yr oedd yr holl genhedloedd eraill yn farbaraidd: Buant yn deyrnas gadarn a hynod, dros rai miloedd o flynyddoedd. Y mae'r tir yn ffrwythlon iawn; ac fe allai nad oes y cyfryw ar wyneb y ddaear, am ddwyn pob math o rawn llafur. Yr ydys yn tybied mai St. Marc a bregethodd yr efengyl yma gyntaf; a bu yno fagad o eglwysi crist'nogol hynod, dros rai cannoedd o flynyddoedd: eithr yr oeddent yn anhapus yn hyn; sef, fod hereticiaid yn codi i fynu yn eu mysg yn aml iawn, hyd oni ddiffoddwyd y wir athrawiaeth efangylaidd, o'r diwedd, gan heresiau. Y mae yno rai yn dwyn enw Crist'nogion hyd y dydd hwn; ond nid ydynt ddim ond dilynwyr yr hereticiaid, neu'r gau athrawon gynt. Y mae'r wlad o ddeutu pum' cant o filltiroedd o hŷd, a dau cant o led. Y trigolion, o ran eu pryd a'u gwedd, ydynt rai yn felynddu, eraill yn gwbl dduon. Y grefydd Fahometaidd y maent yn ei broffesu, gan mwyaf; a'u penaeth yw emprwr y Twrc.

Rhwng hyn a'r gorllewin, yn nesaf, y mae gwlad a elwir ***Barca***. Y mae'n bedwar cant o filltiroedd o hŷd, a dau cant o led. Y mae'r bobl sydd yma hefyd dan lywodraeth y Twrc, ac o ran eu crefydd yn Fahometiaid.

Yn nesaf at Barca, y mae ***Tripoli***, yr hon sydd chwe' chant o filltiroedd o hyd, ac yn nghylch dau cant o led. Emprwr y Twrc sy ben ar y wlad hon hefyd, a'i grefydd ef, sef yr eiddo Mahomet, ydys yn broffesu ynddi.

Yn gyfochr i Tripoli, y mae ***Tunis*** ; gwlad o bedwar cant a haner o filltiroedd o hŷd, a dau cant a haner o led:—Y mae'n perthyn i ymerodraeth y Twrc, fel y lleill o'r blaen; a'r trigolion ydynt Fahometiaid.

***Algier*** yw'r wlad nesaf, yr hon sydd bedwar cant a haner o filltiroedd o hyd, a chant a haner o led ; dan yr un reolaeth, ac o'r un grefydd a'r rhai a grybwyllwyd uchod.

Oddi yma, tu a'r dehau, y mae'r gwledydd a elwir ***Efez*** a ***Morocco***, y rhai ydynt o ddeutu un-cant-ar-bymtheg o filltiroedd o gwmpas. Yr hwn sydd ben ar y gwledydd yma a elwir Emprwr Ffez a Morocco: gorthrymwr tu ag at ei ddeiliaid ydyw, megis yn wir y mae'r penaethiaid sydd dros yr holl wledydd a grybwyllasom hyd yn hyn: canys y mae bywyd a meddiannau eu deiliaid yn eu meddiant, fel y gallant wneuthur â hwynt a'r hyn oll a feddant, yn ol eu hewyllys a'u mympwy eu hunain: Hyn a ddylai ein gwneuthur ni yma yn Mrydain yn ddiolchgar, yn gymaint ag y gallwn ni fyw yn ddibryder yn yr ystyriaeth hyn; canys nis gall y tywysog, neu'r brenin, wneuthur â ni na'n meddiannau, ddim tu hwnt i'r hyn a ganiatao

y cyfreithiau yr y'm yn eu gwneuthur, trwy ein cynddrychiolwyr mewn *parliament*.

Y wlad nesaf at Ffez a Morocco yw ***Biledulgerid:*** Hon sydd dair mil o filltiroedd o hŷd, a thri chant o led. Y tir sydd lwm, o herwydd y gwres a'r sychder gwastadol sydd yn yr ardaloedd hyn o'r byd. Y bobl y'nt felynion a duon:—y maent, rai o honynt, dan lywodraeth y Twrc, a rhai dan lywodraeth emprwr Ffez a Morocco; ac o'r grefydd Fahometaidd.

Oddiwrth Biledulgerid, tu a'r dehau, y mae *Lybia:* yr ydys yn bwrw ei bod yn fil ac wyth gant o filltiroedd o hŷd, ac yn saith gant lle mae hi letaf. Y tiroedd ydynt yma hefyd yn greision ac yn anffrwythlon iawn; a'r trigolion yn farbaraidd, ac yn anifeilaidd ddifesur; ond y maent, gan mwyaf, yn proffesu y grefydd Fahometaidd.

Y'nghyfymyl Lybia, mae *Negro-land*, neu wlad y bobl dduon *(black-moors,)* canys duon yw holl drigolion y wlad hon: y mae'n ddwy fil o filltiroedd o hŷd, a naw cant o led. Y Negroiaid, neu'r bobl dduon yma, ydynt rai yn Fahometiaid, rhai yn eulun-addolwyr paganaidd, a rhai o honynt ydynt yn byw fel yr anifeiliaid, heb ddim crefydd. Yr ydys yn 'sgrifenu am rai o'r paganiaid sydd yn y wlad yma, eu bod yn credu fod Duw, ac ysprydion drwg; ond eu barn hwy ydyw, na ddylent wneuthur dim gwasanaeth i Dduw, o herwydd nad yw raid iddo ef wrth eu gwasanaeth; ond y dylent addoli'r ysprydion drwg i ryngu eu bodd, fel na bo iddynt eu niweidio:—ac felly nid ydynt yn cyflawni dim math o addoliad i *Dduw; eithr,* odid iddynt fyned y'nghylch

dim mater o bwys, oddieithr iddynt aberthu i'r cythraul. Amryw opiniwnau sydd o blegid yr achos, pa ham y mae y rhai hyn yn dduon, yn hynod ar eraill o ddynol-ryw: rhai sy'n dywedyd, mai hiliogaeth Cam ydynt, yr hwn a ddarfu i'w dad Noa ei felldithio; ac mai dyma ran o'r felldith a syrthiodd arno ef a'i epil: ar ba beth y maent yn seilio y cyfryw opiniwn, nis gwn. Eraill ydynt yn dychymyg pethau eraill. Eithr yr ydys yn tybied mai'r rhai hyny sy'n amcanu nesaf at y gwir, sef y rhai sy'n barnu (yn gymaint a bod y bobl hyn yn preswylio dan gwrs yr haul, fel y mae yno yn oestadol yn frytach nac y mae gyda ni yn mis gorphenaf; ac hefyd y bobl hyn ydynt yn myned yn wastad yn ddi-ddillad ac yn noethlymyniaid agos: o herwydd hyn, meddaf, nid heb achos y tebygir) mai'r tês a nerth gwres yr haul, a drodd eu lliw yn y cyfryw fodd.

Rhwng Negro-land a'r dehau, y mae'r wlad hynod *Guinea*: y mae cyrchiad mawr gan farsiandwyr Lloegr, ac eraill o Europe, i'r lle hwn, er mwyn yr aur, yr ifori, a'r *speis*, sydd yno yn aml iawn. Guinea sydd fil a phum' cant o filltiroedd o hŷd, a chant a haner o led: y trigolion y'nt o ran eu lliw, yn gyffelyb i'w cymydogion o Negro-land; ac hefyd o ran eu moesau yn farbaraidd ac yn eulun-addolgar.*

Yn nesaf y mae *Ethiopia isaf*, yr hon sy'n cyrhaeddyd i'r cwr eithaf i Affrica, tu a'r dehau: gwlad fawr iawn a helaeth ydyw, sef

* Y'nghyffiniau y wlad hon y mae Sierra Leone, sefydliad yn perthyn i Loegr, i'r dihen o daenu goleuni gwybodaeth a moesoldeb yn mhlith trigolion Affrica; ac y mae llwyddiant helaeth ar yr amcan.

y'nghylch dwy fil a chwe' chant o filltiroedd o hŷd, a saith gant o led: y mae'n cynwys llawer o deyrnasoedd a chenhedloedd o ddynion. Y mae peth amrywiaeth yn eu plith o ran rheolaeth wledig, ac hefyd mewn perthynas i'w cynheddfau, a'u hopiniwnau yn materion crefyddol; eithr, y maent yn cytuno yn hyn, sef eu bod hwynt oll yn ddieithr i'r gwir Dduw, ac yn eulun-addolwyr, oddi eithr ambell broselyt y mae'r offeiriaid pabaidd yn wneuthur yn eu mysg.* Mor greulon ac anwar yw eu tymerau, mor gas a ffiaidd yw eu harferion, a'u cynheddfau, fel y mae'n amlwg eu bod dan dywysiad a rheolaeth y gelyn uffernol! Ac achos sydd genym i alaru, fod neb o ddynolryw, mewn cynifer o bethau, wedi myned yn waeth na'r anifeiliaid direswm! Y maent yn arferyd y creaduriaid yn y cyfryw ormodedd, hyd onid ydynt yn byrhau eu heinioes; ac o herwydd eu hanghymedroldeb, maent yn edrych yn hen, pan y b'ont eto'n ieuaingc: peth cyffredin yw iddynt werthu y naill y llall: mewn rhai manau maent yn aberthu dynion i'w heulunod; ïe, hwy a wnant gaeth-weision o'r carcharwyr a ddaliont mewn rhyfel, ac a ymborthant arnynt: ar amryw achosion hwy a ymgynghorant â'r ysprydion drwg. Mewn rhai lleoedd o'r wlad, eu hopiniwn ydyw, Fod eneidiau y rhai meirw yn ymborthi ar fuchedd megis rhai byw; ac am hyny maent yn gosod

---

* Bydded hysbys i'r darllenydd, mai yn y wlad hon y mae yr Hottentotiaid, a'r Caffrariaid yn preswylio; y rhai, ynghyd ag amryw lwythau cymydogaethol eraill, ydynt, yn awr, wrth y miloedd yn cofleidio Crist'nogrwydd, trwy lafur ac ymdrech cenhadon ffyddlon, o anfoniad Cymdeithas Genhadawl Brydain, &c.

i lawr fwyd a diod, yn y bedd-le, gyda'r cyrph: a pheth arferol yn y gwledydd yma, ar gladdedigaeth gwyr mawrion a thywysogion, yw lladd rhai o'u gweision, fel y byddo iddynt eu gwasanaethu yn y byd arall. Y pethau hyn, a llawer 'chwaneg o'r cyfryw, sydd arferedig yn y teyrnasoedd yma, y rhai, fe allai, y bydd anhawdd gan rai eu coelio; eithr mae genym gyflawn sicrwydd mai gwir ydynt.

Y tu dwyrain i'r wlad yma, y mae'r wlad a elwir *Ethiopia uchaf:* hon sydd letach ac ehangach na'r llall; sef yn ddwy fil ac wyth gant o filltiroedd o hyd, a dwy fil o led: mae'n cynwys llawer o deyrnasoedd a thywysogaethau neilltuol. Y trigolion gan mwyaf ydynt yn byw'n farbaraidd ac yn wylltion: y mae'n wasgaredig yn eu plith, fagad o Dyrciaid (dilynwyr Mahomet,) a rhai Iuddewon hefyd: ac mewn un man, sef yn agos i'r Aipht, mae teyrnas a elwir *Abyssinia*, yn yr hon mae rhai yn proffesu Crist'nogaeth. Y grefydd Grist'nogol a dderbyniwyd yma yn y prif amser, eithr o ddeutu'r flwyddyn pedwar cant, hwy a lygrwyd gan heresi Dioscorus, yr hwn oedd yn dal nad oedd ond un natur y'Nghrist; ac felly darfu iddynt, er's llawer o oesoedd, ymwrthod â'r wir athrawiaeth efangylaidd; ac nid oes yn awr yn eu mysg ond y camsyniadau a'r heresiau, er bod o honynt eto yn myned dan enw eglwys yr Abyssiniaid.

Felly, darfu i ni megis drafaelio dros yr ail ran o'r byd, sef Affrica; o blegid yr hon, noder y'mhellach, Fod ei holl drigolion, o ran eu lliw, naill ai'n felyn-ddu, neu ynte'n gwbl dduon. Drachefn, mae i ni ddal sulw o bleg-

id Affrica, nad oes un rhan arall o'r byd yn cynwys y fath amrywiaeth o fwystfilod ac anrhualod gwylltion, y rhai ydynt, gan mwyaf, yn anadnabyddus i ni yn y gwledydd hyn.

Yn y moroedd o amgylch i Affrica, mae llawer iawn o ynysoedd; rhai o honynt ydynt anial: ond y rhan fwyaf a gyfaneddir gan ryw fath neu gilydd o bobl; a thrigolion y rhai hyn oll ydynt naill ai'n Baganiaid, neu'n Fahometiaid, neu ynte'n Bapistiaid. Y tu gorllewin i Affrica, yn y môr *Attlantic*, y mae megis pentwr o ynysoedd tra hynod am winllanoedd, a'r amrywiaeth fawr o win sydd ynddynt. Yn enwedig, mae yno un peth a haeddai ei grybwyll yn fwy neilltuol; sef, yr ysgil neu'r gelfyddyd ryfeddol oedd gan yr hen drigolion hyny, gynt, i gadw cyrph y meirw, fel na ddarfyddent tros amryw oesoedd. Yr Yspainiaid sy'n awr mewn meddiant o'r ynysoedd yma, gwedi gorchfygu o honynt yr hen breswylwyr a'u difetha gan mwyaf: ac y mae'r Yspainiaid yn cael yno gyrph meirwon mewn ogofeydd, yn gyfan gwbl, oddieithr eu hymysgaroedd, y rhai a dynwyd allan cyn eu gosod i lawr; ac y maent mor sychion ac mor ddilygredd ag y byddai y rhai a'u gwelont yn barod i dybied y gallant barhau tra parhao'r byd. Y cyfryw gelfyddyd hefyd oedd gan yr hen Aiphtiaid; canys yr ydys yno, (sef yn yr Aipht) yn awr, yn cael mewn 'stafelloedd dan y ddaear, gyrph yn gyfan, y rhai yr ydys yn gwybod fod o leiaf ddwy fil o flynyddoedd er pan eu gosodwyd i lawr.

Fel hyn yr oedd y cenhedloedd tywyll yma, druain, er nas gallent amddiffyn eu hanwyl

gyfeillion rhag marwolaeth, eto yn chwenych cael cymdeithas eu cyrph cyhyd ag y byddai bosibl; ac felly'n arfer moddion i'w cadw rhag dychwelyd i'r llwch, a throi i'w defnyddiau cyntaf: eithr, gwelwn faint yw'n rhagorfraint ni y rhai mae'r Efengyl genym, yr hon sy'n "dwyn bywyd ac anllygredigaeth i oleuni." 2 Tim. 1. 10. fel y gallwn ni fod yn esmwyth ac yn ddibryder mewn perthynas i'r peth hyn; canys ni a wyddom am "y rhai a hunant yn yr Iesu, y dwg Duw hwynt hefyd gydag ef." 1 Thes. 4. 14. ac y mae genym sicrwydd, y "cyfnewidir ein cyrph gwael ni, fel eu gwneler yn unffurf â'i gorph gogoneddus ef." Phil. 3. 21.

## EUROPE

A gyfrifir yn drydedd ran o'r byd; i'r hon y perthyn Brydain ein hynys ni:—y parthau a grybwyllwyd eisioes, sef *Asia* ac *Affrica*, ydynt yn rhagori arni y'mhell mewn ehangder a maint; ac fe allai hefyd o ran amrywiaeth ffrwythydd. Eithr o ran gwybodaeth a dysgeidiaeth, a phob math o gelfyddydau, ac yn enwedig o herwydd goleuni'r Efengyl sy'n tywynu arni, yn awr dros lawer o oesoedd, mae *Europe* yn rhagori ar yr holl wledydd tan y nef.

Yn nesgrifiad y rhan hon o'r byd, dechreuwn yn y cwr isaf iddi, sef y nesaf at y gorllewin: a'r wlad gyntaf a gyfarfyddwn â hi yw *Spain*. Spain a gyfrifir yn chwe' chant o filltiroedd o hŷd, ac y'nghylch pum' cant o led, yn y man helaethaf o honi. Y trigolion ydynt oll

o'r grefydd babaidd: ac nid yw pabyddiaeth yn cael ei phroffesu a'i chynal, mewn un man gyda'r fath zel ag y mae yma. Un modd hynod ac effeithiol, trwy ba un maent yn diogelu eu crefydd, yw y *cwrt* ydys yn alw *inquisition*;* canys y'mhob tref y mae pump neu chwech o offeiriaid pabaidd, y rhai a elwir *inquisitors*. Swydd y rhai'n yw ymofyn am hereticiaid, a'u cospi; (hereticiaid y galwant hwy bawb nad ydynt o gymdeithas eglwys Rhufain:) felly, am bwy bynag a ddalio un opiniwn gwrthwyneb i babyddiaeth, neu a ddywedo ddim yn erbyn y Papistiaid, os â dan ddwylo y rhai'n, odid iddo fyned oddi yno a'i hoedl ganddo. Fel hyn maent yn peri i'r gwerinos, druain, lynu wrth y cyfryw grefydd ag sy'n arwain i ddistryw.

Yn nesaf at Spain, tu a'r dwyrain, y mae *Ffrainc*, yr hon sydd yn ein cymydogaeth ni; canys nid oes ond llain gul o fôr yn gwahanu rhwng Ffrainc a Brydain. Teyrnas helaeth a chadarn ydyw, o ddeutu pum' cant o filltiroedd o hŷd, a'r un faint agos o led. Y mae y Ffranciaid yn cael eu cyfrif yn ddeallus ac yn gywrain, esgyd i ddychymygu rhyw beth newydd y'mhob rhyw gelfyddyd: eithr mewn pethau ysbrydol, y maent, fel y gellir dywedyd, dan gaethiwed y Babilon Rufeinaidd. Bu dros ryw faint o amser Brotestaniaid yn dra aml yn eu plith; ond darfu brenin a fu'n ddiweddar, sef Lewis XIV, trwy erledigaeth

* Y cwrt hwn a ddyfeisiwyd gyntaf gan y Pâb Boniface VIII. y'nghylch y flwyddyn un mil tri chant. O blegid y pab hwn, dywedyd yr oeddid, iddo gyrhaedd yr anrhydedd o fod yn bâb trwy ddichell cadno, ac iddo reoli fel llew, a marw fel ci.

drom a chwerw, fyn'd yn agos i arllwys y tir o honynt; eithr yr ydys yn gobeithio y bydd y rheolwr sydd yno yn awr o dymer fwy tirion a hywedd.

Oddiwrthi, tu a'r dehau, neu yn hytrach tu a'r dwyrain, y mae *Italy*. Yn Italy y mae amryw wledydd a thywysogaethau neillduol. Bu gynt yn hynod ac yn freiniol iawn, canys yma mae y ddinas enwog Rhufain, yr hon a fu unwaith yn arglwyddes ar ran fawr o'r byd. Oblegid mawr bŵer a chadernid y Rhufeiniaid a rag-ddangoswyd i'r prophwyd Daniel, Dan. 7. 7, 19. Ac eto y mae son mawr am Rufain, canys yno y mae un, sef y Pâb, yr hwn sydd yn cymeryd arno fod yn Ficar Iesu Grist ar y ddaear; nid yn unig yn ben ar yr holl eglwys weledig, ond goruwch pob rhyw awdurdodau a thywysogaethau; a bod holl wledydd a theyrnasoedd y byd ar ei rodd ef, ac y gall ef eu rhoddi i'r neb a fyno. Trigolion y wlad yma (megis ag nas gallwn ddisgwyl dim llai,) ydynt o'r grefydd babaidd; ac mewn rhai manau yr ydys yn cynal cwrt yr *inquisition* megis yn Spain.

*Germany* sydd nesaf:—mae'n sefyll tu a'r gogledd oddiwrth Italy, a thu a'r dwyrain oddiwrth Ffrainc. Gwlad ehang ydyw, bedair ochrog, o ddeutu chwe' chant o filltiroedd bob ffordd. Un *Ascenas*, gor-ŵyr Noa, a wladychodd yma gyntaf, fel yr ydys yn tybied; am hyny mae y Germaniaid yn mawrygu eu hunain yn fawr oblegid eu hynafiaeth. Yr ydys yn galw yr hwn sydd ben ar y wlad yn emprwr neu ymerawdwr, yn ol cyffelybrwydd emprwyr mawrion Rhufain gynt: eithr nid yw ei bŵer

ond byr iawn; canys y mae rhyw fath o dduciaid a thywysogion yn aml yn y wlad, y rhai ydynt yn arferu awdurdod breiniol gan mwyaf yn eu hardaloedd eu hunain. Y grefydd babaidd sydd fwyaf cyffredin yma hefyd.

Yn nesaf, tu a'r dwyrain, y mae *Poland;* teyrnas fawr iawn ydyw hon, saith gant o filltiroedd o led, a mil o filltiroedd o hyd.* Arfer y Polandiaid yw dewis eu brenhinoedd, canys pan fo marw'r brenin, nid oes i'w fab, nac i neb o'i dylwyth, ddim hawl na theitl i'r goron, eithr dewisir rhyw wr mawr o'r wlad, neu, fe allai, o un o'r gwledydd o amgylch, i fod yn frenin; a phan fo farw hwnw, a'nt eilwaith i ddewis un arall, fel y gwelont hwy yn dda. Y gwŷr mawrion ydynt yn cadw'r cyffredin dan eu traed mewn caethiwed tost, hyd onid ydynt yn lladd bagad o honynt yn fynych, ac heb fod yn ddarostyngedig i gospedigaeth oblegid y peth chwaith, oddieithr talu, fe allai, ychydig o arian mewn ffordd o ddirwy. O ran eu crefydd, dilynwyr ydynt i'r Pâb o Rufain.

Oddiwrthi, tu a'r dehau, y mae'r gwledydd hyn, sef *Hungary, Transylfania, Moldavia, Walachia, Sclafonia, Bulgaria,* a *Romania.* Y maent dan amryw lywodraethwyr, ac os cyfrifir gyda'u gilydd, nid y'nt fawr lai na Pholand. Trwy'r gwledydd hyn y mae'r Danube yn rhedeg, un o'r afonydd mwyaf yn y byd; y mae yn tarddu y tu gorllewin i Germany, ac oddi yno yn cerdded deuddeg cant o filltiroedd tu

* Yn y flwyddyn 1795, bu orfod i Stanislaus brenin Poland, oddef i ymerawdwr Germany, ymerodres Russia, a brenin Prussia, [illegible] ei goron, a rhannu ei deyrnas rhyngddynt, mewn modd [illegible]*lawn ac annynol*; ac yn eu meddiant hwy y mae hyd heddyw.

a'r dwyrain, cyn cael y môr; y mae yn ei chwrs yn derbyn tri ugain o afonydd sydd abl i ddwyn llongau. Mewn perthynas i bethau crefyddol, y mae yma y fath gymysgedd nad ellir yn hawdd ei adrodd; Papistiaid, Mahometiaid, Iuddewon, crefydd y Groegiaid, dilynwyr rhai o'r hen hereticiaid, megis Photiniaid, Ariaid, a'r cyfryw. Y mae yma hefyd rai o ddilynwyr Luther a Chalfin, yn enwedig yn Transylfania a Hungary.

Yn nesaf, eto, tu a'r dehau, y mae *Groeg*, gwlad hynod, ryw amser, am wŷr doethion a dysgedig. Yma y mae Athen, lle yr oedd ysgol enwog yn amser St. Paul, Act. 17. Yma hefyd y mae'r trefydd lle yr oedd yr eglwysi at y rhai yr anfonodd ef rai o'i epistolau, sef, Corinth, Thessalonica, a Philippi. Bu'r grefydd Crist'nogol yn ffynadwy iawn yma dros rai oesoedd; eithr, y'mhen talm o amser, hi a lygrwyd trwy goelgrefydd a dychymygion dynion. Y Tyrciaid sy berchenogion o'r wlad yn awr, a chrefydd Mahomet sydd benaf ynddi, ond mae yno hefyd lawer o hiliogaeth yr hen Roegiaid, yn gwneuthur proffes o Grist'nogrwydd, ac a elwir eglwys y Groegwyr; ac er eu bod wedi dirywio y'mhell oddiwrth eu purdeb cyntaf, eto nid ydynt mor llygredig gwbl ag eglwys Rhufain.

Y wlad nesaf a gawn ei descrifio yw *Moscofi*, neu *Russia*. Y mae yn bymtheg cant o filltiroedd o hyd, a deuddeg cant o led: gwlad oer ac anffrwythlon ydyw. Y cyfoeth penaf y mae'n ei ddwyn yw amryw fath o grwyn bwystfilod (*ffur*,) y rhai a werthir i farsiandwyr Lloegr ac eraill. Enw cyffredin y pen-rheolwr

ydyw Czar. Y mae'r trigolion yn cytuno, gan mwyaf, yn eu crefydd â'r Groegiaid; ond 'mewn rhai manau, y maent (megis eu cymydogion y Tartariaid,) naill ai yn eulun-addolwyr neu yn Fahometiaid.

Fel hyn y darfu ini fyned dros y rhan fwyaf o'r byd trigianol; ac erbyn hyn, fe allai, y byddai fy narllenydd yn chwenych gofyn, Pa le bellach y cair eglwys Dduw ar y ddaear? yn gymaint nas gellir barnu fod y cyfryw ag y buom yn son am danynt hyd yn hyn, yn gymwys i fod yn ddeiliaid i Iesu Grist. Y mae yn ddiau fod achos da i dybied am yr holl wledydd yr aethom drostynt, mai trigfa satan ydynt; eto, sicr yw, fod gan yr Arglwydd Iesu Grist, yr hwn sydd Frenhin brenhinoedd ac Arglwydd arglwyddi, Dat. 19. 16. yr hwn y mae ei orseddfaingc yn oes oesoedd, Heb. 1. 8. a'r hwn a osodwyd yn Frenin ar sanctaidd fynydd Sïon, Salm 2. 6. sicr yw, meddaf, fod ganddo ef, ei ddeiliaid yn rhyw fanau neu gilydd o'r ddaear, y'mhob oes; ac na bydd efe heb rai i'w ofni a'i wasanaethu, tra parhao haul a lleuad, tros holl oesoedd y byd. Salm 72. 5.

Fe fydd ini, gan hyny, yn nesaf, ymosod i ystyried y'mha leoedd y mae'n fwyaf tebygol fod y praidd bychan hwnw yn preswylio; i'r hwn y darparodd y Tad nefol deyrnas,—y rhai rhagorol y ddaear,—y genedl sanctaidd etholedig,—y rhai er bod eu preswyl ar y ddaear, eto, sydd a'u hymarweddiad yn y nefoedd, ac ydynt ddinasyddion o'r Jerusalem nefol; ac o honynt cair rhai, fel y mae'n gymwys ini obeithio, yn y wlad yr ydym yn myned i'w desgrifio nesaf, sef,

*Sweden*, yr hon sydd yn sefyll y tu gogleddol i Poland a Germani: teyrnas dra ehang yw; eithr nid yw amlder y trigolion yn gyfatebol i helaethrwydd y wlad, o herwydd mor oer ac anghyfanedd yw. Pabyddiaeth oedd yma gynt; ond darfu iddynt ddiwygio, (hyny yw ymwrthod â'r grefydd babaidd) o ddeutu'r flwyddyn 1544, ac felly y maent yn awr yn Brotestaniaid. Yr ydys yn eu galw yn Lutheriaid, hyny yw, dilynwyr athrawiaeth Martin Luther.

Y mae gwlad fechan y tu dehau i Sweden, ac y'nghyffiniau Poland, a elwir *Prussia*:— hon hefyd a dderbyniodd y grefydd Brotestanaidd y'nghylch yr un amser a'r Swediaid.

Rhwng Sweden a'r gorllewin y mae'r gwledydd hyn, sef, *Denmarc*, *Norway*, a *Lapland*. Y maent yn cyrhaedd o'r gogledd tu a'r dehau, bymtheg cant o filltiroedd; eithr nid yw eu lled yn y manau helaethaf fawr dros ddau cant. Gwledydd oerfelog ydynt, a theneuon o drigolion: darfu iddynt hwythau fel eu cymydogion y Swediaid, daflu ymaith y goel-grefydd babaidd; eithr y maent yn dywedyd fod peth eulun-addoliaeth mewn rhai manau o Lapland, yr hon wlad hefyd a fu hynod gynt am hudolesau a dewiniaid.

Y wlad nesaf a gawn, lle y proffesir y grefydd Brotestanaidd, yw *Holland*: hon sydd yn ein cymydogaeth ni, tu a'r dwyrain, canys nid oes ond llain o fôr, o ddeg-a-deugain o filltiroedd o led, yn gwahanu rhwng Brydain a Holland. Y trigolion a elwir Dutch: nid yw eu gwlad ond bechan a chyfyng, eto, darfu iddynt yn ddiweddar fyned yn genedl enwog ac ardderchog iawn: eu cynhaliaeth a'u cyfoeth

y maent yn gyrchu o bell; a diamau yw, na bu erioed y fath farsiandwyr ar fôr a'r rhai hyn: eu llongau yn aneirif, yn tramwy o holl fôr-oedd y byd. Nid oedd y Tyriaid a'r Sidoniaid, y rhai a gyfrifid yn forwyr enwog gynt, ddim i'w cyffelybu iddynt hwy. O ran eu crefydd, (fel y crybwyllwyd eisoes) Protestaniaid ydynt, dilynwyr y diwygiwr rhagorol John Calfin.

Am ein gwlad a'n hynys ni ein hunain, sef *Brydain*, afraid yw myn'd y'nghylch dangos pa grefydd a broffesir yma; canys mae'n adnabyddus ddarfod o honom ninau, er ys llawer o flynyddoedd, fwrw ymaith y goel-grefydd a'r eulun-addoliaeth Rufeinaidd: eithr fe allai y bydd ini, cyn y diweddom, ddywedyd rhyw beth am stât crefydd yn y wlad yma yn helaethach, ac yn fwy neillduol.

Yn *Ywerddon*, megis y mae amryw drigolion, felly hefyd y mae amrywiaeth o grefydd. Y grefydd Brotestanaidd a arddelir gan mwyaf yn y manau y mae'r Saeson yn preswylio: eithr am yr hen Wyddelod, y rhai y'nt o lawer yn amlaf, y maent hwy yn glynu byth wrth y grefydd Babaidd; ac y maent nid yn unig yn Bapistiaid, ond hefyd yn farbaraidd ac yn greulon. Darfu iddynt ar brydiau ladd trwy fradwriaeth lawer can'oedd o filoedd o'r Protestaniaid, yn enwedig yn amser Charles I. ond y mae'n ddiweddar gyfreithiau cymwys a pherthynasol wedi eu gwneuthur tu ag at gadw y rhai'n mewn rheolaeth a threfn; ac, os ydyw bosibl, i'w diwygio, a dyfod â hwynt i adnabyddiaeth o'r gwirionedd.

Heblaw y gwledydd Protestanaidd a grybwyllwyd, y mae hefyd rai manau yn Europe,

wedi ymneillduo oddiwrth eglwys Rhufain, sef y rhai hyn a ganlyn:—

Rhwng Ffrainc ac Italy y mae pump o ddyffrynoedd, yn y rhai y mae pobl yn preswylio a elwir Falois a Waldensiaid. Darfu iddynt hwy gadw gafael ar y wir grefydd er amser yr apostolion, er bod Pabyddiaeth wedi llygru yr holl wledydd o amgylch, ac er iddynt gael eu haflonyddu yn fynych trwy lawer o erledigaethau trymion.

Y dref hynod Genefa hefyd, a'i chyffiniau a'i hardaloedd, sydd Brotestanaidd er amser Calfin, yr hwn a ddechreuodd y diwygiad yno y'nghylch y flwyddyn 1535. Y'nghymydogaeth y dref yma, y mae gwlad a elwir *Switzerland*, yn yr hon y mae amryw drefydd ac ardaloedd yn arddel y wir grefydd; megis Zuric, lle bu fyw y diwygiwr enwog Zwinglius; a Bazil, y dref lle bu fyw Ecolampadius. Y gwŷr hyn, y'nghyd â Luther, Calfin, ac eraill, a ddechreuasant osod ar deyrnas anghrist, (sef y Pab) oddeutu'r flwyddyn 1530.

Y mae hefyd yn Germany rai rhandiroedd a threfydd o'r grefydd Brotestanaidd, Lutheriaid a Chalfiniaid, y rhai ydynt yn glynu wrth y wir athrawiaeth efangylaidd, trwy fawr ymdrech â'r Papistiaid er ys tri chant o flynyddoedd agos, sef er dechreuad y diwygiad.

Yn awr yr y'm wedi amgylchu y drydedd ran o'r byd, sef Europe; ac er darfod ini fyned dros lawer o deyrnasoedd a gwledydd mawrion a helaeth, eto ni chawsom ond yr ychydig hyn yn mwynhau moddion iachawdwriaeth yn eu purdeb; ac er bod y trigolion yn gyffredin, yn y gwledydd Protestanaidd a grybwyllwyd, yn

gwneuthur proffes o wasanaethu Duw yn ol didwyll reol ei air ef, eto nid oes ond rhai yn rhodio yn addas i'r cyfryw broffes, mewn sanctaidd ymarweddiad a duwioldeb. Nid Israel yw pawb sydd o Israel. Rhuf. 9. 6.

Awn bellach y'nghylch desgrifiad yr hon a gyfrifir yn bedwaredd ran o'r byd, sef

## AMERICA.

Y rhan hon a elwir *America*, a'r *West Indies*, a rhai a'i galwant y *Byd Newydd*; yn gymaint ag nad oes ond y'nghylch tri chant o flynyddoedd er pan wybuwyd fod y cyfryw wlad. Y mae y wlad yn sefyll y'mhell tu a'r gorllewin oddiwrthym ni: yr haul sydd uwch ben iddi pan mae yn hwyrhau arnom ni yma. Y mae môr, yr hwn a elwir Attlantic, o dair mil o filltiroedd o led, yn gwahanu rhyngddi ag Europe ac Affrica. Y wlad fawr hon a ganfuwyd gyntaf gan un Cristopher Columbus, morwr hynod o Italy, y'nghylch y flwyddyn 1492: y gwr hwn a ddeallodd fod gwledydd tu a'r gorllewin, y rhai mae yr haul yn tywynu arnynt wedi ymadael â'r parthau hyn o'r byd; ac ewyllys mawr oedd ganddo i fyned i chwilio am y cyfryw wledydd; eithr yr oedd yn ddiffygiol o ran gallu a phŵer i gyflawni'r peth; am hyny fe wnaeth ei feddwl yn hysbys i frenin Spain, yr hwn a ganmolodd ei amcan, ac a ddarparodd iddo wŷr a llongau, a'r cyfryw bethau yn ychwaneg ag oeddent berthynasol ac angenrheidiol: felly, cyn gynted ag y cafodd yr hyn oll oedd angenrheidiol i'r daith, *gosodasant* allan i'r cefnfôr, ac wedi morio o

honynt ychwaneg na thri ugain niwrnod yn union tu a'r gorllewin, daethant o fewn golwg i'r wlad fawr yr ydys yn alw America. Yna, ar ol iddynt dreulio rhyw faint o amser i gael gwybodaeth fwy neillduol o'r tir, hwy a ddychwelasant, i roddi cyfrif o'u taith. Brenin Spain, pan glywodd yr hanes oeddynt yn ei roddi am y byd newydd yma, a lanwyd o orfoledd; yn gymaint a'i fod yn gweled fod ganddo le yn awr i wneuthur 'chwanegiad mawr at ei deyrnas, os efe a allai gymeryd meddiant o'r wlad.

Y peth nesaf, gan hyny, a gymerodd mewn llaw, oedd parotoi lluoedd o wŷr, ac adeiladu llongau, tu ag at fyned i ymweled â'r wlad bell hon; felly fe ddarparodd fyddin luosog o wŷr dewisol, ac a'u trosglwyddodd dros y môr Atlantic, a darfu iddynt lanio, neu ddyfod i dir, yn America, yn y flwyddyn 1498.

Wedi dyfod o honynt yma, a chymeryd golwg o'r wlad, hwy a ganfuant fod rhyw fath o bobl yn cyfaneddu pob cwr o honi. Pa amser a pha fodd y daeth pobl gyntaf i breswylio i'r rhan hyn o'r byd, nid oes neb yn gwybod; barbariaid oeddent, ac o ran eu hymarweddiad ond ychydig well nac anifeiliaid. Mewn rhai manau yr oeddynt yn addoli rhyw beth neu gilydd yn lle duw; mewn manau eraill nid oedd ganddynt ddim deall nac amgyffred o grefydd yn y byd, ond yn swrth fusgrell, fel y creaduriaid direswm. Y'mysg rhai o honynt yr oedd rhyw fath o drefn wledig a llywodraeth; eraill oeddynt yn byw yn wylltion fel bwystfilod yr anialwch; cabanau neu dwlcau wedi eu gwneuthur o bolion ac adail oedd ganddynt yn lle tai.

Y dillad a wisgent oedd crwyn anifeiliaid; eithr yn y manau lle yr oedd y tywydd yn dymherus, (canys mewn rhai parthau o'r wlad y mae'r hin yn wresog drwy'r holl flwyddyn,) yr oeddynt yn myned yn gwbl noethion; oddieithr eu bod, fe allai, yn troi rhyw beth o amgylch eu canolau. Eu hymborth oedd pysgod, anifeiliaid, a ffrwythau coedydd:—Nid oedd ond rhai yn cymeryd poen i lafurio'r ddaear. Y cyfryw a hyn ydoedd yr hen Americiaid.

Y Spainiaid, pan ddaethant i mewn i'r tir hwn, ni ddarfu iddynt fyned y'nghylch darparu preswylfod iddynt eu hunain mewn ffordd o ammod a chytundeb â'r trigolion, eithr ymosodasant i wneuthur eu lle trwy nerth arfau; canys yr oedd y Pâb wedi gwneuthur rhodd o'r wlad i frenin Spain, eisoes, os efe a allai ei gorchfygu: felly hwy a ddechreuasant osod y cleddyf ar waith, i dori ymaith y barbariaid yma oddiar wyneb y ddaear; yr hyn beth, yn ddiau, a allent ei wneuthur yn ddiorchest ac yn ddiberygl, canys ni allai y rhain sefyll o flaen gwŷr arfog, mwy na defaid o flaen bleiddiaid; a darfu iddynt wneuthur y cyfryw lanastra yn eu mysg, ag y byddai anhawdd gan un ei gredu:—Yr ydym yn darllen iddynt ladd dim llai na deg can' mil o honynt bob blwyddyn, dros y deng mlynedd a deugain cyntaf ar ol eu dyfod yno!

Pa mor greulon a fu'r Spainiaid tu ag at yr Indiaid, gallwn ddeall wrth yr hyn a ganlyn:* Wedi iddynt ladd rhifedi aneirif o honynt, dar-

* Y Spainiaid a gymerasant gyda hwynt y pryd hyny amryw gantoedd o waed-gwn; a darfu iddynt ddysgu'r creaduriaid hyny i *fod yn wasanaethgar* iddynt ar yr achos hwnw; canys dau cant o

fu iddynt fyned y'nghylch troi y lleill i fod yn Grist'nogion, sef i'r grefydd Babaidd, canys Papistiaid ydyw'r Spainiaid. Un o honynt, sef o'r Indiaid, wedi i'r offeiriaid Pabaidd ei berswadio ef i fod yn Gristion, ac i gymeryd ei fedyddio, a ofynodd yn gyntaf, Pa ddaioni a gai ar ol hyn, os efe a gymerai ei fedyddio? atebwyd iddo, fod lle o hapusrwydd a elwid y nef, ac y cai fyned yno: gofynodd eilwaith, Pa le a ddarparwyd i'r sawl a wrthodent gymeryd eu bedyddio? dywedwyd wrtho, mai uffern a'i phoenau: ymholodd y'mhellach, I ba un o'r ddau le hyn y cai'r Spainiaid fyned? atebwyd, mai i'r nef: ebe yntef, Os felly mae, myfi ddewisaf yn hytrach fyned i uffern gyda'r difedydd, na byw yn y nef gyda'r fath bobl greulon ag ydyw'r Spainiaid. Fel hyn yr ymresymai Haythne yr Indiad. Eto darfu i'r Spainiaid, o fesur ychydig, droi llaweroedd o honynt i wneuthur rhyw fath o broffesiad o'r grefydd Babaidd.

Deuwn yn nesaf i roddi desgrifiad neilltuol o'r byd newydd yma, sef America:—Ei hŷd o'r gogledd tu a'r dehau, yw wyth mil a phum' cant o filltiroedd; y mae ei led yn amrywio mewn amryw leoedd; mewn rhai manau yn dair mil neu bedair, mewn manau eraill yn fil o filltiroedd o led; ac mewn un man, sef yn agos i'w ganol, nid yw'n gwbl gan' milltir o led.

---

waed-gwn a yrent fyddin fawr o'r Indiaid i ffoi: a'r Indiaid a ofnent y rhai'n yn fwy eto na'r Spainiaid eu hunain; o herwydd y gwaed-gwn yma a'u canlynent trwy bob rhyw leoedd, a phan eu goddiweddent, fe fyddai iddynt eu rhwygo a'u llarpio mewn modd gresynus ac ofnadwy.

Yn y cyffiniau eithaf o America, tu a'r gogledd, y mae'r gwledydd hyn: sef, *Gwynedd newydd*, *Deheu-barth Cymru newydd*, a *Brydain newydd*. Nid yw ein morwyr ni yn rhoddi dim hanes oblegid y rhain, ond yn unig eu bod yn wledydd oerion iawn, a bod eu trigolion yn farbaraidd ac yn eulun-addolgar.

Y wlad nesaf tu a'r dehau, a elwir *Canada*; yr enw hwn a roddir iddi o herwydd i rai o Ffrainc fyned i wladychu yno, y'nghylch y flwyddyn 1604. Felly mae'r Ffrainciaid* yn awr yn preswylio yno yn gymysg â'r hen drigolion; ac y maent wedi gwneuthur proselytiaid o lawer o honynt i fod yn Bapistiaid.

Yn nesaf at Canada, tu a'r dehau, y mae *Lloegr newydd*. Y mae hi o ddeutu dau cant o filltiroedd o hŷd, a chan' milltir o led. Yr amser y sefydlodd y Saeson yma gyntaf, oedd y'nghylch y flwyddyn 1620; a'r achos o'u symudiad i'r wlad bell hon oedd fel hyn: yn amser y brenin James I. yr oedd rhai yn y deyrnas na fynent gydymffurfio â defodau a seremoniau eglwys Loegr, megis yr Ymneillduwyr yn awr; ar ol goddef o honynt erledigaeth dros rai blynyddoedd, darfu i ryw nifer o honynt ymsymud i dref a elwir Leyden, yn Holland; yno y cawsant ryddid a llonyddwch i wasanaethu Duw yn y ffordd yr oeddynt hwy'n farnu fod yn fwyaf cytunol â'r ysgrythur. Wedi ymdeithio o honynt yno yspaid deng mlynedd, darfu iddynt fwriadu symud eto oddi yno, a myned i breswylio i ryw fan wrthynt eu hunain,

* Mae y wlad hon, yn awr, y'nghyd a'r gwledydd a grybwyllwyd uchod, yn perthyn i Frydain fawr; hefyd amryw ynysoedd cyfagos, megys *Newfoundland*, Breton, St. Ioan, &c.

tu ag at ddechreu trefedigaeth (*colony.*) Felly yn y flwyddyn 1620, y'mis Gorphenaf, gosodasant allan o Holland i'r môr Atlantic, a thiriasant yn America y'mis Tachwedd nesaf ar ol hyny. Bu gyfyng a thrallodus iawn arnynt dros rai blynyddoedd wedi eu dyfod yno; eithr darfu iddynt mewn amser lwyddo a chynyddu yn rhyfeddol; fel y gellir dywedyd, Mai hwy yn awr ydyw y sefydliad penaf a berthyn i Loegr: ac arfer brenin Lloegr, yw anfon rhyw un a welo ef yn dda, i fod yn rhaglaw i reoli tano ef yno.* Y maent yn byw yn heddychlon â'r hen drigolion, cyn belled ag y mae'n bosibl byw'n heddychlon â'r fath ddynion, yn cymeryd mawr boen i droi y cyfryw a fo'n foddlon i gymeryd eu dysgu, oddiwrth eu gau-addoliaeth, ac i'w hyfforddi yn egwyddorion y ffydd Grist'nogol: a thu ag at daenu gwybodaeth yn fwy effeithiol yn eu plith, y maent yn cymeryd pobl ieuaingc o'r Indiaid i'w dwyn i fynu mewn dysgeidiaeth, fel y byddo iddynt bregethu yn eu mysg hwy yn eu hiaith eu hunain; ac y mae yno yn awr amryw gynulleidfaoedd o'r rhai'n yn gwneuthur proffes

---

* Mae y wlad hon, yn awr, yn cynwys pump o Daleithiau, sef Vermont, Hampshire newydd, Massachussetts, ynys Rhode, a Connecticut; y rhai sydd yn llunio y rhan ogleddol o "Daleithiau cyfunawl America;"—felly nid yw hi tan lywodraeth Lloegr yn bresennol; nac ychwaith y taleithiau nesaf a ganlyn, sef Yorc newydd, Jersey newydd, Pensylfania, Maryland, Virginia, a Carolina; y'nghyd ac amryw daleithiau newyddion a luniwyd yn ddiweddarach, sef y Delaware, Carolina ogleddol, Georgia, Kentucky, Tennessee, Ohio, Indiana, &c. hefyd Louisiana, a'r ddwy Florida, y rhai a brynodd llywodraeth y Taleithiau cyfunawl gan alluoedd eraill, sef Ffrainc a Spain. Yn y flwyddyn 1782, darfu i'w ddiweddar fawrhydi GEO. III. addef cymaint a luniesid y pryd hyny, sef 13 o'r taleithiau uchod yn rhyddion ac yn anymddibynol, wedi amryw flynyddoedd o ryfel anffodiog ac aflwyddiannus.

obeithiol o'r grefydd Grist'nogol. Y mae y Bibl ganddynt yn eu hiaith eu hunain, o gyfieithiad gweinidog hynod a elwid Mr. Eliot, yr hwn o herwydd y mawr boen yr oedd yn ei gymeryd tu ag at droedigaeth yr Indiaid, oeddid yn alw yn Efangylwr. Yr un gyfraith wledig, gan mwyaf, sydd yn Lloegr newydd ag sy yma gyda ni. Eithr mewn perthynas i ddisgyblaeth eglwysig, y maent yn cytuno y'mhob peth agos â'r sect o Ymneillduwyr, yr ydys yn alw Independiaid yma yn Mrydain.

Y tu dehau i Loegr newydd y mae *Yorc newydd*, *Jersey newydd*, a *Maryland*. Darfu i rai Saeson sefydlu yn y gwledydd hyn yn ddiweddar, y'mysg yr hen drigolion; ac o ran rheolaeth wledig ac eglwysig, y maent yn cytuno â hen Loegr.

Y'nghyffiniau y gwledydd hyn y mae *Pensylfania*. Y'nghylch y flwyddyn 1680, ac wedi, darfu i fagad o Gymru a Lloegr symud i'r cwr hyn o America, gyda William Pen.* Y mae'r wlad yr gymhedrol ffrwythlon; eithr y mae'r gwres, dros ryw ran o'r haf, mor nerthol ag nad ellir yn hawdd ei oddef; a'r oerfel yn y gauaf mor derrig o'r tu arall. Y mae yno ryddid i bob sect, eithr nid oes ond ychydig o rym duwioldeb yn ymddangos yn eu plith; ac un achos yw, am fod prinder o rai cymwys i fod yn flaenoriaid mewn materion gwledig ac

* Y sawl a garant ryddid gwladol a chrefyddol, o bob gwlad, ydynt oll yn addef mai y cyfreithiau a'r rheolau a luniodd y gwr enwog hwn i'w drefedigion, yw y rhai tecaf a chymwysaf, at eu gilydd, o unrhyw yn y byd adnabyddus; felly ni bu dim newidiad arnynt hyd y dydd hwn; ac hefyd, y mae dysgeidiaeth a gwybodaeth, mewn pethau tymhorol ac ysbrydol, yn flodeuog iawn yn y dalaeth hon er's llawer o flynyddoedd.

eglwysig; yn gymaint ag mai y gwerin bobl, gan mwyaf, oedd y rhai a aethant i wladychu yno.

Y mae eto ddau sefydliad y'chwaneg yn America yn perthyn i Loegr, sef *Carolina* a *Virginia*. Y mae y Saeson sydd yma o ran eu crefydd a chyfreithiau y wladwriaeth, yn cytuno â Lloegr. Yr Indiaid, sef yr hen drigolion, sy' yn eu mysg, sydd ganddynt ryw fath o reolaeth neillduol a phriodol iddynt eu hunain. Hwynt hwy ydynt yn glynu byth wrth eu hen eulun-addoliaeth.

Y gwledydd y buom yn son am danynt hyd yn hyn, sef Canada. Lloegr newydd, Pensylfania, &c. ydynt y cwr nesaf atom ni o America, ar lan y môr Atlantic. Rhwng y rhai'n a'r gorllewin y mae gwlad fawr helaeth, yr hon nid y'm yn gallael cael dim hanes neilltuol o honi; ond yr ydys yn tybied ei bod o leiaf yn fil o filltiroedd o led, ac y'nghylch dwy fil o filltiroedd o hŷd. Yn y wlad hon y mae'r hen drigolion yn ddigymysg, yn byw yn farbaraidd ac yn wylltion.*

Yn nesaf yr y'm yn dyfod at y gwledydd sy y'mherchenogaeth y Spainiaid, y rhai a oresgynasant y rhan fwyaf a chyfoethocaf o America. Y wlad nesaf at y gogledd, a berthyn i'r Spainiaid§ yw *Florida*, yr hon sydd bedwar cant o filltiroedd o hyd, a thri chant o led.

* Yn y cwr dwyreiniol o'r wlad fawr hon y mae y taleithiau diweddaraf a luniwyd, sef Kentucky, Tennessee, Ohio, Indiana, &c. y rhai sydd yn cynyddu fwy-fwy mewn rhifedi, ac yn llwyddo yn hynod mewn pethau gwladol a chrefyddol, er pan derfynodd y rhyfel oedd rhwng llywodraeth y Taleithiau cyfunawl a'r Indiaid.

§ Unwyd Florida at y Taleithiau cyfunawl, yn y flwyddyn 1820.

Gwlad faethlon, feillionog ydyw, yn ol arwyddocad yr enw a roddwyd iddi.

Yn gyfagos i Florida, tu a'r dehau, y mae *Mexico*, yr hon sydd ddau cant o filltiroedd o led, a thri-chant-ar-bymtheg o hŷd. Cynifer o'r Indiaid sydd yn byw yma yn gymysg â'r Spainiaid, a dderbyniasant y grefydd Babaidd. Hon sydd wlad gyfoethog iawn o aur, sidanau, a *speis*.

Cyfochr i Mexico y mae gwlad a elwir *Terra Firma*, yr hon sydd bymtheg cant o filltiroedd o hyd, a chwe' chant o led. Mae'n cynyrchu gwmau ac aroglau peraidd; ac y mae ynddi fwyn-gloddiau aur, arian, a meini gwerthfawr.

Yn nesaf, tu a'r dehau, y mae *Peru*. Y mae yn fil a naw cant o filltiroedd o hyd, a chwe' chant o led. Hon ydyw'r wlad gyfoethocaf yn yr holl fyd; canys y mae yma gyflawnder annhraethadwy o'r pethau mae dynolryw yn eu caru mor anwyl, sef aur ac arian: ac ni orphwysodd y Spainiaid dros y tri-chant blynyddoedd diweddaf aeth heibio, ond eu llwytho dros y cefnfor i Spain. Nid oes na rhif na diben ar y cyfoeth a gloddir o'r mynyddoedd a'r glenydd yn y wlad hon. Yr hen drigolion sy ganddynt fawr achos i gwyno am orthrymder a chamwedd; canys y Spainiaid, wedi cymeryd meddiant o'u gwlad, ydynt yn peri iddynt gloddio yn y creigydd am drysorau i'w cyfoethogi hwy. Y sawl o'r Indiaid hyn sy'n cydgyfaneddu â'r Spainiaid, ydynt yn cydymffurfio â hwynt yn eu crefydd a'u hymarweddiad; eithr y rhai sydd yn y parthau mwyaf anial o'r wlad, ydynt yn byw yn ddi-reolaeth ac yn eulunaddolgar.

Y wlad nesaf, eto, tu a'r dehau, a elwir *Chili*. Y mae hi'n fil a thri chant o filltiroedd o hyd, a dau cant a haner o led. Y mae yma hefyd gyfoeth mawr o aur, a'r puraf oll ydyw; mewn rhai manau, y mae y tir yn ffrwythlon iawn;—y tywysenau gwenith ydynt ddeunaw modfedd o hyd, a'r gwellt agos yn dair llath. Yr hen drigolion ydynt mewn rhai lleoedd o'r wlad yn addoli y cythraul dan ei enw: eithr mewn manau eraill y maent o'r un grefydd a'u meistraid y Spainiaid, sef yn Bapistiaid.

Y tu deheuol i Chili y mae Magelanica. Hon yw'r wlad eithaf tu a'r dehau, yn yr ochr hyn o America. Y mae hi y'nghylch mil o filltiroedd o hyd, a naw cant a haner o led. Yr hen drigolion sy'n preswylio yma, gan mwyaf, yn ddigymysg; yr ydys yn eu galw *Patagoniaid*: o ran eu maintioli a'u corpholaeth, math o gawri ydynt; eithr o ran eu cyneddfau, y maent yn waeth na'r anifeiliaid gwylltion mwyaf rheibus y mae'r ddaear yn ddwyn.

Cyn myned o honom y'mhellach, y mae yn gymwys ini ddal sulw yma, fod y tu dehau a gorllewin i America, tu hwnt i'r môr deheuol, diroedd mawrion ac ehang, y rhai a elwid y *Tiroedd dehau nid adwaenir*. Y mae llongwyr Europe yn morio heibio i'r tiroedd hyn weithiau, eithr nid ydynt yn gallu rhoddi dim hysbysrwydd neillduol o honynt, ond yn unig eu bod yn helaeth iawn ac yn llawn o drigolion. Ni feiddiant fyned neppell i mewn i'r wlad o achos creulondeb y dynion sydd yno, y rhai a wnaethant ddihenyddiad tost ar rai o honynt a syrthiasant ar ddamwain yn eu dwylo; felly gallant ddywedyd trwy brofiad, mai pobl

greulon iawn sy'n preswylio yn y gwledydd hyny. Y'mhellach, y maent yn dywedyd o'u plegid, eu bod yn gorphorol a diwyd; ac er nad oes ganddynt na brenin na thywysog, eto eu bod yn ordeinio rhyw fath o swyddogion i gospi y rhai diog, a'r sawl na chydymffurfiant â defodau'r wlad. Nid ydynt, chwaith, heb eu duwiau, y rhai y maent yn aberthu iddynt: temlau hefyd sydd ganddynt i gyflawni dyledswyddau crefyddol ynddynt. Ar amserau y maent yn golchi eu cyrph, yn ymprydio, yn cynal uchel-wyliau, &c.

Yn nesaf at Magelanica (y wlad ddiweddaf a grybwyllwyd yn America) y mae gwlad fawr a elwir *Paragay:* y mae hi yn ddwy fil o filltiroedd o hŷd, a phymtheg cant o led. Llawnder mawr sydd ynddi o lafur ac o ffrwythau coedydd, ac o'r corsenau* o ba rai yr ydys yn cael siwgr. Y mae yma hefyd fwyngloddiau aur ac arian a chopr. Cynifer o'r Indiaid yn y wlad hon, ag sydd dan reolaeth brenin Spain, ydynt o'r grefydd Rufeinaidd: y lleill ydynt eulun-addolwyr fel eu henafiaid.

Oddiwrth Paragay, tu a'r dwyrain, y mae *Brasil:* ei hyd a'i lled ydynt agos yr un faint, sef y'nghylch tri chant ar ddeg o filltiroedd. Yr ardaloedd nesaf at y môr a breswylir gan y Portugiaid, cymydogion y Spainiaid; eithr y rhan fwyaf o'r wlad sydd eto y'mherchenogaeth yr hen drigolion, y rhai ydynt yn hytrach ar lun pobl nac yn bobl.

Y wlad nesaf, a'r ddiweddaf yn America, a elwir *Amazonia:* y mae hi y tu gorllewin i

* Pob math o siwgr a dynir o'r corsenau hyn, trwy eu briwo, eu malu, a'u berwi.

Brasil, ac yn fil a saith gant o filltiroedd o hŷd, a mil o led. Y trigolion ydynt yma hefyd, fel yn Brasil, yn farbaraidd iawn; na llywodraeth na chrefydd nid oes ganddynt; eithr byw yn wylltion yn y coedydd y maent, yn gyffelyb i'r anrhualod gwylltion, y'mysg y rhai y maent yn trigo; oddieithr, fe allai, eu bod ychydig mwy gwaraidd yn y parthau o'r wlad sydd gymydogawl i'r Spainiaid.

Yn y moroedd o amgylch i America, y mae hefyd rifedi mawr o ynysoedd, yn enwedig y tu dwyrain, sef y *West Indies*; a thrigolion y rhai'n oll, ydynt naill ai yn eulun-addolwyr neu ynteu o'r grefydd babaidd; oddieithr yr ychydig o honynt sy'n perthyn i Loegr. Fel hyn y darfu i ni roddi eglurhad bŷr o'r bedwaredd ran o'r byd.

Yn awr, ddarllenydd anwyl, gosodasom ger dy fron fŷr hanes o'r amryw "genhedloedd o ddynion a wnaeth Duw, o un gwaed, i breswylio ar holl wyneb y ddaear, a therfynau eu preswylfod." Act. 17. 26. a thi a weli fod "y byd eto, gan mwyaf, yn gorwedd mewn drygioni," 1 Ioan 5. 19. "fod tywyllwch yn gorchuddio y ddaear," Esa. 60. 3. fod teyrnas y gelyn yn gref a'i lywodraeth yn ehang; fod amryw genhedloedd lluosog yn y caethiwed tostaf, heb na gallu nac ewyllys i ddyfod allan o hono; a bod nifer anymgyffredawl o eneidiau yn cychwyn ar hyd y "ffordd lydan sydd yn arwain i ddistryw," Mat. 7. 13. o'r tu arall, gelli weled pa mor fawr yw dy ragorfraint uwchlaw llaweroedd, yn gymaint a'th fod yn mwynhau moddion Iechydwriaeth, fod yr ysgrythurau sanctaidd yn dy law, y rhai sy'n

dwyn bywyd ac anllygredigaeth i oleuni, ac yn fuddiol i gyfeirio'th draed i ffordd tangnefedd, ac i'th wneuthur yn ddoeth i Iechydwriaeth, 2 Tim. 3. 15. Y rhagoriaeth oedd gan yr Iuddewon, gynt, uwchlaw eraill, oedd yn sefyll yn hyn, "o herwydd darfod ymddiried iddynt hwy am ymadroddion Duw," Rhuf. 3. 1, 2. Hyfryd oleuni gair Duw oedd yn tywynu arnynt hwy, tra'r oedd yr holl genhedloedd o amgylch yn gorwedd mewn tywyllwch. Y moddion o ras, talent arbenig ydyw:—gwyn eu byd y rhai sydd â'r cyfryw dalent yn eu dwylo, a chalon i'w defnyddio. Fe allai dy fod yn tybied unwaith, fod gan y rhan fwyaf o'r byd yr un cynhorthwyadau i ddyfod i adnabyddiaeth o Dduw, a thu ag at gyrhaeddyd hapusrwydd yn y byd i ddyfod, ag yr ydwyt ti yn ei fwynhau; eithr gwel, yn awr, mai nid felly mae. Nid oes genyt ddim achos i gynfigenu wrth yr Indiaid, y rhai y mae eu mynyddoedd yn llawn o aur, na'r Arabiaid am eu gwlad araul ffrwythlon; canys os oes genyt y doethineb sydd oddi uchod, yr hon a ddysg i ti, brofi y pethau sydd a gwahaniaeth rhyngddynt, Phil. 1. 10. er noethed a llymed yw'th le, ni newidit gyflwr ag un o'r rhai'n: bydd foddlon, ïe, bydd ddiolchgar:—"y mae i dduwioldeb addewid o'r bywyd sydd yr awr hon, ac o'r hwn a fydd," 1 Tim. 4. 8. cais hawl ynddo ef, eiddo yr hwn yw y ddaear a'i chyflawnder; "gobeithia ynddo ef, a gwna yr hyn a fyddo da a chymeradwy yn ei olwg; felly cai drigo yn y tir, a thi a borthir yn ddiau," Sal. 37. 3. O! cais galon i iawn brisio a defnyddio y gwerth sydd yn dy law, sef yr efengyl

sanctaidd, yn yr hon yr ymddangosodd anfeidrol ras Duw tu ag at ddynolryw; a'r hon sydd yn ein dysgu ni i wadu annuwioldeb a chwantau bydol, a byw yn sobr, yn gyfiawn, ac yn dduwiol. "Elw mawr yw duwioldeb gyda boddlonrwydd." Fod o honot yn mwynhau ordinhadau'r efengyl, a moddion gras, sydd ffafr annhraethadwy, ac yn wir achos o orfoledd: eto dylit orfoleddu mewn dychryn; mewn dychryn, meddaf, rhag fforffetio o honot y rhagorfreintiau yma trwy dy anffrwythlondeb, a pheri i Dduw eu dwyn oddi arnat a'u rhoddi i eraill a ddygo ffrwyth. Bu'r efengyl, gynt, yn amryw o'r gwledydd y buom yn eu desgrifio, y rhai sydd yn awr mewn tywyllwch; eithr o herwydd eu hanniolchgarwch a'u hanffrwythlondeb, ca'dd ei symud oddi wrthynt. Yn awr, gan hyny, gwel ddaioni Duw tu ag atat ti; ymro i aros yn ei ddaioni ef: "Na fydd uchel-fryd, eithr ofna," Rhuf. 11. 20, 22.

Fe fuwyd, yn awr, dros rai can'oedd o flynyddoedd, yn dyfal gyrchu a chludo golud a thrysorau'r Indiaid, i'r parthau hyn o'r byd, sef i Europe: y mae genym achos i ofni y bydd i ni ryw amser, dalu am danynt yn rhy ddrud; sef y bydd i'r efengyl gael ei chymeryd oddi wrthym ni, a'i rhoddi iddynt hwy! y mae rhai yn tybied, fod yr efengyl, yn awr, megis ar ei naid, yn barod i gymeryd ei chenad oddiwrthym ni i fyned i wledydd y gorllewin, sef i America. Barn un gwr hynod, mewn perthynas i'r peth hyn, yn enwedigol, sydd yn fy meddwl, ac mi a'i gosodaf i lawr yn ei eiriau ei hun.

*My God, thou do'st prepare for them a way,*
*By carrying first their gold from them away:*

*For gold and grace did never yet agree,*
*Religion always sides with poverty:*
*We think we rob them, but we think amiss;*
*We are more poor, and they more rich by this.*
*Thou wilt revenge their quarrel, making grace*
*To pay our debts, and leave our ancient place*
*To go to them.——* HERBERT.

Yr Indiaid, drwy ymado â'u haur coeth,
Bar'toir i dderbyn y gwir gyfoeth;
Can's aur a gras y'nt mor anghytun,
A fedd y naill, y llall nis derbyn:
Eu haur, heb werth, dros fôr terfysgus,
Trosglwyddo 'ry'm i'n bro'n ddiorphwys;
Duw dâl ein d'led, drud yw'r cyfnewid,
Trwy roi'n lle'u haur efengyl hyfryd.

Y gwr da hwn, sydd yn y geiriau hyn (fel yr wyf yn tybied,) yn mynegu ei ofn a'i bryder, yn hytrach nac yn cymeryd arno brophwydo: pa fodd bynag, Gymry anwyl, gochelwch roddi o honoch achos, trwy eich anffrwythlondeb, i'r Goruchaf symud o'ch mysg y canwyllbren sy yn dal goleuni'r bywyd. Yr Iuddewon, am eu hanffrwythlondeb a'u drygioni, a fwriwyd allan o'r winllan: trigolion Asia, ac eraill, y rhai y bu yr efengyl yn goleuo yn eu mysg gynt, ydynt yn awr mewn tywyllwch; eglwysi Europe ydynt eto megis mewn stât o brofiad; daioni Duw sydd, hyd yn hyn, yn parhau tu ag atynt: eu dyledswydd yw "aros yn ei ddaioni ef; os amgen, hwynt hwythau hefyd a dorir ymaith," Rhuf. 11. 22. Oh! ymrowch na byddo eich rhan chwi yn ol; gochelwch fod y cenedlaethau a ddel, yn cael achos i ddywedyd, mai pechodau eu hynafiaid a barodd na chawsant hwy gynyg o iechydwriaeth. Dygwch chwithau *ffrwythau* addas; a bydded eich taer ymbiliau

ar Dduw, i'r efengyl yn y wlad fyned trosodd o genhedlaeth i genhedlaeth, hyd derfynau eithaf oesoedd y byd.

## AM YR AMSEROEDD.

GAN ddarfod o honom, yn y rhan aeth heibio o'n traethawd, roddi desgrifiad neillduol o holl wledydd y byd a'u trigolion; ni gawn yn y lle nesaf edrych yn ol, i gymeryd golwg ar bethau fu yn yr oesoedd gynt. "Dull y byd hwn sydd yn myned heibio," 1 Cor. 7. 31. y mae'n newid ei wedd, mewn rhyw fesur, bob dydd; mwy o lawer y'mhob oes: cyfnewidiadau mawrion ac amlwg, sydd yn digwydd mewn yspaid ychydig o amser, mewn teuluoedd, dinasoedd, a gwledydd; nid fel y bu y mae;—nid fel y mae y bydd: Am y pethau a fydd, y maent yn ddirgel, "Canys nis gŵyr dyn beth a fydd," Preg. 8. 7. eithr am bethau a fu, y mae yn fuddiol ini, ac yn ddyladwy arnom, cyn belled ag y gallom, fod yn gydnabyddus â hwynt; "Cofiwch y dyddiau gynt; ystyriwch flynyddoedd y cenhedlaethau gynt," Deut. 32. 7. Gwael ac anifeilaidd yw'r dyn yr hwn nid yw ei wybodaeth yn cyrhaedd tu hwnt i'w wlad ei hun, a'i oes ei hun. Fe fydd ini gan hyny, grybwyll rhai o'r pethau mwyaf hynod a ddigwyddasant yn yr oesoedd aethant heibio er y greadigaeth, fel y byddo i'r synhwyrol gael achlysur i gasglu addysg iddo ei hun, er ei adeiladaeth.

Oed y byd, fel y mae y dysgedigion gan mwyaf yn cytuno, yw 5828 o flynyddoedd.

Duw ei hun sydd o drag'wyddoldeb, heb ddechreuad, "Efe sydd o drag'wyddoldeb hyd drag'wyddoldeb." Salm 90. 2. Eithr er pan roddodd efe fôd i'r amrywiol rywogaethau o greaduriaid, nid oes ond megis y dywedwyd.

Y dyn cyntaf, Adda, a osodwyd yn Eden:— Yr Eden yma, nid oedd, o ran ei maint a'i ehangder, yn gyffelyb i ardd; eithr yr oedd yn cynwys amryw wledydd: ac y mae y rhai cywrain mewn hanesyddiaeth yn gadael mae y gwledydd hyn oedd yr hen Eden, neu'r Baradwys ddaearol; sef, Mesopotamia, Caldea, Assyria, Persia, ac Arabia; y rhai ydynt oll y tu dwyrain i wlad Canaan.

Y'nghanol y tir helaeth hwn, yr oedd pren y bywyd, a'r pren gwybodaeth da a drwg: yn gyfagos i'r rhai'n yr oedd trigfa Adda, cyhyd ag y parhaodd yn ei stât o ddiniweidrwydd; eithr ar ol ei gwymp, gorfu arno symud i gwr arall o'r ddaear, i enill ei fara trwy chwys ei ddwy-rudd, efe a'i hiliogaeth, y rhai a gynyddasant yn ddirfawr: ac fel y darfu iddynt liosogi mewn rhifedi, felly y darfu i'r llwgr a etifeddasant oddiwrth eu rhieni cyntaf, dori allan yn eu gweithredoedd, hyd oni chyffroasant y goruchaf Dduw i ddarparu llif-ddwfr i olchi ymaith y cyfryw genedl ffiaidd oddi ar wyneb y ddaear. Eto darfu iddo, yn yr arwydd hyn o'i lid, gofio trugaredd; yn gymaint ac iddo gadw had yn Noa a'i dylwyth.

Oed y cynfyd (hyny yw, yr yspaid o amser o greadigaeth Adda hyd y diluw) oedd 1656 o flynyddoedd. Tri meibion Noa oeddent Sem, Cam, a Japheth: Sem a enwir yn gyntaf o herwydd y rhagorfraint oedd iddo uwchlaw

ei frodyr; eithr yr ydys yn tybied mai Japheth oedd yr hynaf o'r tri: canys yr hynaf o honynt a genhedlwyd pan oedd Noa yn bum' can' mlwydd oed, Gen. 5. 32. Y'mhen can' mlynedd ar ol hyny y daeth y dwfr diluw, Gen. 7. 6. ac erbyn hyn yr oedd y plentyn hwnw yn gan' mlwydd oed; eithr nid oedd Sem gan' mlwydd hyd y'mhen dwy flynedd ar ol y diluw, Gen. 11. 10. am hyny mae'n debygol mai Japheth oedd yr hynaf; canys yr ieuangaf oll oedd Cám, sydd amlwg oddiwrth Gen. 9. 24.

Yr arch a orphwysodd ar ben mynydd uchel, mewn gwlad a elwid yn amser Moses, Ararat, ond yn awr Armenia, y tu gogledd i Eden. Noa a'i hiliogaeth, yn gymaint a bod yr hîn yn Armenia yn oer, a'r tir yn anffrwythlon, a symudasant o fesur ychydig ac ychydig, tu a'r dwyrain a'r dehau, i ymofyn gwledydd mwy cyfleus i drigo ynddynt; wedi dyfod o honynt i'r wlad a elwir yn awr Caldea, y'nghylch 130 o flynyddoedd ar ol y diluw, ac erbyn hyn yn lliaws mawr, gosodasant y'nghylch adeiladu y ddinas a'r tŵr a grybwyllir yn Gen. 11. eu pwrpas a'u diben yn y peth, oedd 1 Fel y byddai i hyn fod yn fodd i'w cadw y'nghyd, fel nas gwasgerid hwynt; y'ngwrthwyneb i arfaeth Duw yr hwn a wnaethai yr holl ddaear i fod yn breswylfa i ddynion. 2. Tybied yr oeddent, os dyfrlif a ddigwyddai eto i guddio y ddaear, y byddai eu tŵr yn lle cymwys i ffoi iddo. Y cyfryw oedd eu ffolineb a'u hangbrediniaeth, canys Duw a addawsai i'w tad Noa, yr hwn oedd eto yn fyw, na chai'r fath beth fod mwyach. Rhai sydd yn tybied mai Cam a'i epil yn unig oedd yn y cyngrair hwn;

eithr gallwn farnu yn hytrach, er nad oedd Sem a Japheth, yn gymaint a'u bod yn wŷr duwiol, yn foddlon i'r peth, eto fod y rhan fwyaf o'u hiliogaeth hwynt yn gynorthwywyr i blant Cam yn y gwaith.

Hyd yn hyn, yr oedd yr un dafodiaith, sef yr Hebraeg, ganddynt oll; eithr yn awr, darfu i Dduw ddosparthu amryw ieithoedd rhyngddynt. Cynifer o honynt ag oeddent o'r un iaith a ymgysylltasant ynghyd, ac a ymneillduasant oddiwrth y lleill; canys nis gall fod cymdeithas rhwng rhai ni ddeallant y naill iaith y llall. Fel hyn y darfu i Dduw ranu dynolryw yn amryw benau-cenhedloedd, i breswylio ar wyneb yr holl ddaear; ac megis y rhagordeiniodd efe o'r dechreuad, pa wlad a gai pob cenedl yn breswylfod, Act. 17. 26. felly y darfu i'w ragluniaeth ef oruwch-reoli y pryd hwn, pan oedd penau teuluoedd neu lwythi plant Noa yn ymneillduo bob un i ddewis ei drigfan.

Sem, megis y perchenoga etifedd ei dreftadaeth, felly yntef, yr hwn o herwydd yr enedigaeth-fraint oedd etifedd, a drigodd, efe a'i holl hiliogaeth o fewn terfynau Asia, gwlad ei dad Noa, a'r holl batriarchiaid cyn y diluw.

Hiliogaeth Cam a ymneillduasant tu a'r dehau, i Affrica, a rhai o honynt a arosasant yn neheudir Asia, sef yn Canaan, Babilon, ac Arabia.

Plant Japheth a giliasant tu a'r gorllewin: daethant yn gyntaf i'r parthau isaf i Asia, sef Natolia; ac oddi yno i Europe:—felly o Japheth y mae'r Europiaid yn deilliaw. O Gomer, *yr hynaf o blant* Japheth, y daeth cenedl fawr

lluosog, y rhai a elwid gynt Cimbri; ac mae y rhai sydd yn chwilio achau'r cenhedloedd, yn barnu mai colfen o'r rhai'n oedd yr hen Gymry.

Rhagorfraint Sem oedd yn sefyll yn benaf yn hyn; sef, o herwydd mai o hono ef y daeth y tadau, neu'r patrieirch a fu hynod gynt yn eglwys Dduw, a'r Messia hefyd yn ol y cnawd; ac o fewn un gangen o'i hiliogaeth ef yn unig, y bu gwir addoliad Duw yn cael ei gynal dros 1536 o flynyddoedd, sef o amser Moses hyd ddyfodiad Crist.

Y trydydd o Sem oedd Heber, yr hwn, mae yn debygol, oedd yn wrol yn gwrthwynebu ac yn argyhoeddi adeiladwyr Babel; am hyny cafodd yr anrhydedd o gadw'r hen iaith oedd o'r dechreuad, a'i thraddodi i'w hiliogaeth: ac oddiwrtho ef ca'dd yr enw Hebraeg; a'r Israeliaid, y rhai a ddaethant o hono ef, a elwid Hebreaid. Y chweched o Heber oedd Abraham. Yn amser Abraham, yr hyn oedd yn nghylch pedwar cant o flynyddoedd ar ol y diluw, yr oedd holl hiliogaeth plant Noa wedi myned yn llygredig iawn: ie, Tera, tad Abraham, a Nachor ei dad-cu, oeddynt yn dechreu cymysgu addoliad y gwir Dduw â delw-addoliaeth; eithr cafodd Abraham ffafr y'ngolwg y Goruchaf; cafodd ei alw allan o fysg y delw-addolwyr, ac efe a wnaed yn siampl hynod o'r wir ffordd o gyfiawnhad, sef o'r cyfiawnder sydd trwy ffydd: o'i had ef yn unig y dewisodd Duw ei bobl dros lawer o oesoedd, oddieithr ymbell broselyt o fysg y cenhedloedd; ac ynddo ef, sef yn Nghrist, yr hwn a ddaeth o'i had ef, "y bendithiwyd holl genhedloedd y ddaear.

Wedi i Abraham gael ei alw allan o Ur y Caldeaid, dechreuodd Duw osod i fynu ei eglwys yn ei dylwyth a'i hiliogaeth ef: eto wedi hyn hyd amser Moses, yr oedd yn wasgaredig; nid yn unig o had Sem, ond hefyd o hiliogaeth Cam a Japheth, rai a lynasant wrth addoliad y gwir Dduw, megis Melchisedec, Job, ac amryw eraill, fel y gallwn ddeall oddiwrth lyfr Job.

Am Melchisedec, y rhai cywrain a ymholant yn fawr pwy ydoedd? eithr, yn ddiau, nid yw gymwys i ni fod yn ymofyngar am y peth hyn. Nid allai yr Iuddewon yn amser yr apostol a 'sgrifenodd at yr Hebreaid, nac ychwaith yn amser y prophwyd Dafydd, chwilio allan ei achau ef; a pha fodd y gallwn ni, ar ba rai y daeth terfynau yr oesoedd? Drachefn, ewyllys Duw oedd celu achau'r gwr yma, fel y byddai iddo fod yn gysgod cymwys o'i Fab ef Iesu Grist, yr hwn sydd offeiriad yn dragywydd, yn ol cyffelybiaeth neu urdd Melchisedec, Heb. 7. 3.

Duw a addawodd i Abraham wlad y Canaaneaid, sef plant Cam; eithr dywedodd wrtho y byddai ei had ef bedwar cant o flynyddoedd yn ymdeithio mewn gwlad ddieithr. Y pedwar can' mlynedd hyn ydynt i'w cyfrif o enedigaeth Isaac; canys ni bu yr Israeliaid yn yr Aipht ond dau cant a deng mlynedd. A phan y mae Moses yn Exod. 12. 41. yn dywedyd i'r Israeliaid gael eu gwaredigaeth yn y flwyddyn 430, y mae efe yno yn cyfrif holl amser ymdeithiad tŷ Abraham hyd y pryd hyny, gan ddechreu yn yr amser y daeth ef allan o Ur y Caldeaid, *a phan gafodd* ef yr addewid. Canys o'i ddy-

fodiad allan o fysg y Caldeaid, hyd fynediad yr Israeliaid allan o'r Aipht, yr oedd ynghylch 430 o flynyddoedd: ychydig ddyddiau ar ol hyny rhoddwyd y gyfraith.

Yn amser Job a Moses, ac o hyny allan, gwelodd Duw yn dda drefnu i'w air a'i ewyllys gael ei osod i lawr yn ysgrifen, er budd a llesiant i'w ei eglwys; canys hyd yn hyn yr oedd y patrieirch a'r penau tylwythau yn ei draddodi o'r naill i'r llall: ac yr oedd yr hir einioes oedd i ddynion yn yr amseroedd hyny, yn gynorthwy mawr i'r peth. Yr hyn a ddatguddiasid o ewyllys Duw i Adda ac eraill, cyn y diluw, a ellid yn hawdd ei hebrwng trwodd hyd amser Abraham, heb golli dim: Canys Noa a'i fab Sem a fuant fyw enyd fawr gyda Methusela ac amryw eraill yn y cynfyd, y rhai a gymdeithiasant âg Adda ei hun, a Seth, &c. Noa fu fyw dri chan' mlynedd ar ol y diluw: a Sem a fu fyw hyd amser Jacob.

Yn amser Moses, yn gymaint ag i Dduw erbyn hyn gwtogi einioes dynolryw, o herwydd gwaith byr a wna efe ar y ddaear, gorchymynodd ysgrifenu y datguddiadau a ro'i o'i ewyllys mewn llyfrau, i'w cadw yn yr eglwys, a'u traddodi o'r naill genhedlaeth i'r llall.

Yn y flwyddyn 2508 o oed y byd y daeth yr Israeliaid allan o'r Aipht. O fynediad yr Israeliaid o'r Aipht hyd adeiladiad y deml, yr oedd 480 o flynyddoedd.—O adeiladiad y deml hyd ddechreu y caethiwed yn Babilon, yr oedd 403 o flynyddoedd.—Yn y cyfamser hwn y darfu i'r deg llwyth neilltuo, a gosod brenin arnynt eu hunain, sef yn nechreu teyrnasiad Rehoboam mab Solomon. Teyrnas y deg llwyth

a barhaodd 240 o flynyddoedd, sef hyd y chweched flwyddyn o deyrnasiad Hezecia brenin Juda.

Caethiwed Juda yn Babilon a ddechreuodd yn nheyrnasiad Jeconia mab Jehoiacim, 2 Bren. 24. 8. y caethiwed hwn a barhaodd 70 mlynedd, Jer. 25. 11, 12.

O ddychweliad yr Iuddewon, Ezra 1. hyd y gorchymyn a roddodd Artaxerxes i adeiladu Jerusalem, Neh. 2. yr oedd 93 o flynyddoedd. Y gorchymyn hwn sydd i'w ddeall yn Dan. 9. 25. ac nid y gorchymyn a roddodd Cyrus i adeiladu'r deml; nac ychwaith orchymyn Darius, Ezra 6. 8. yr hwn oedd 17 mlynedd ar ol gorchymyn Cyrus; nac eto y gorchymyn a roddodd Artaxerxes 60 mlynedd ar ol hyny, Ezra 7. 12. ond y gorchymyn a roddodd yr Artaxerxes yma i Nehemiah i adeiladu caerau Jerusalem, Neh. 2. yn yr ugeinfed flwyddyn o'i deyrnasiad ef. Yma y mae i ni ddechreu cyfrif wythnosau Daniel, Dan 9. 25, 26. ac felly, o orchymyn Artaxerxes hyd ddyoddefiad ein Harglwydd Iesu Grist yr oedd 490 o flynyddoedd; megis y mae'n amlwg wrth yr wythnosau hyny: canys fe gyfrifir pob diwrnod yn flwyddyn yn ol dull ac arfer y prophwydi.

Erbyn hyn, gallwn gasglu pa faint o amser a gerddasai o ddechreuad y byd hyd ddyfodiad y Messia; canys ni raid ond gosod yr amryw rifedi uchod yn un swm, ac yno cawn oed y byd pan ddioddefodd yr Arglwydd Iesu Grist yn Jerusalem, megis y canlyn:—

O'r creadigaeth hyd y diluw, 1656.—O'r diluw hyd fynediad Abraham allan o Ur, 422.—O fynediad Abraham o Ur, hyd ddyfod-

iad yr Israeliad allan o'r Aipht, 430.—O ddyfodiad yr Israeliaid allan o'r Aipht, hyd adeiladiad y deml, 480.—O adeiladiad y deml hyd ddechreu y caethiwed yn Babilon, 403.—O ddechreu y caethiwed hyd ei ddiwedd, 70.—O ddiwedd y caethiwed hyd orchymyn Artaxerxes i adeiladu Jerusalem, 93.—O orchymyn Artaxerxes, neu ddechreu wythnosau Daniel, hyd ddyoddefiad Crist, 490.

Bwrier y cyfrifon hyn oll at eu gilydd, a gwnant 4044, yr hyn oedd oed y byd pan ddioddefodd ein Harglwydd Iesu Grist. Eithr yn gymaint a'i fod ef pan ddioddefodd yn dair ar ddeg ar hugain oed, tỳner tair ar ddeg ar hugain allan o'r pedair mil a phedair a deugain, a chawn oed y byd pan y ganwyd yn Methlehem, sef 4011. A gosoder eto gymaint o amser ag a aeth heibio er ei enedigaeth hyd yn awr, sef 1823, at 4011, ac yno cawn oed y byd y flwyddyn hon, yn 5834.

Dros bedair mil o'r amser a aeth dros y byd, sef hyd ddyfodiad Crist, y mae ysgrythyrau'r Hen Destament yn cyrhaedd: ac oni ba'i yr hanes y mae y rhai hyn yn ei roddi, gorfyddai arnom ymbalfalu yn y tywyllwch o blegid dechreuad y byd a'r oesoedd a aethant drosto, yr un agwedd a'r hen philosophyddion cenhedlig, y rhai y mae eu llyfrau, mewn perthynas i'r peth hyn yn enwedig, yn llawn o oferedd eu meddwl, Eph. 4. 17. Cyn myned o honom y'mhellach fe fydd i ni, er hyfforddiad y darllenydd, ddywedyd ychydig o blegid y drefn a'r amseroedd y'mha rai y rhoddwyd yr ysgrifenadau sanctaidd hyn, sef yr ysgrythyrau, y rhai a ddarparodd Duw i oleuo deall

tywyll dyn, ac i'w gyfarwyddo yn y ffordd sydd yn arwain i'r orphwysfa ddidranc.

Yn gyntaf, gan hyny, ac y'mlaenaf oll, ni a gawn bum' llyfr Moses. Genesis a gynwys yr hanes gywiraf a hynaf yn yr holl fyd;—y mae yn dechreu yn y creadigaeth, ac yn cyrhaedd hyd y flwyddyn o oed y byd 2500. Pum' llyfr Moses a eilw yr Iuddewon Y gyfraith; darfu iddynt eu dosparthu yn ddeuddeg a deugain o ranau; cynifer ag sydd o sabbothau yn y flwyddyn; a'u harfer yw hyd y dydd hwn, ddarllen un o'r rhanau hyn bob sabboth: ac y mae y rhan ddiweddaf yn cynwys y pennodau olaf o Deuteronomium, a'r pennodau cyntaf o Genesis: felly ar y sabboth diweddaf o'r flwyddyn y maent yn diwedd ac yn dechreu o newydd, i ddangos nad ydynt ddim yn blino darllen y gyfraith.

Job oedd yn byw ryw faint o amser o flaen Moses, eithr ar ol Abraham. Pwy a ysgrifenodd lyfr Job sydd ddadl y'mysg rhai: eithr y mae yn dra amlwg o'r ddeuddegfed bennod ar hugain o'r llyfr, mai Elihu, un o'r pedwar ymddiddanwyr, a'i 'sgrifenodd. Y wlad yr oedd Job yn byw ynddi, fel y tebygir, oedd yn gyfagos i wlad Canaan, o'r tu dwyrain iddi.

Llyfr Josua, a'r rhai a ganlyn, hyd ddiwedd y Croniclau, ydynt yn rhoddi hanes o stât wledig ac eglwysig yr Iuddewon, dros 900 o flynyddoedd; sef, o'u mynediad i fewn i wlad Canaan, hyd eu dychweliad o'r caethiwed. Yn y cyfamser hwn, yr oedd y Lefiaid a'r prophwydi yn cymeryd gofal i osod i lawr mewn cof-lyfrau y pethau mwyaf hynod oedd yn digwydd bob blwyddyn, ac yn eu gosod i'w cadw

mewn lleoedd sicr, naill ai yn y deml neu lys y brenhinoedd; ac o'r cof-lyfrau yma, y darfu i ryw wŷr duwiol, trwy gynhyrfiad a chyfarwyddiad yr Ysbryd Glân, dynu allan gymaint o hanes yr amseroedd hyny ag oeddent yn farnu yn angenrheidiol ac yn fuddiol i eglwys Dduw yn yr oesoedd i ddyfod; a gwneuthur y llyfrau neillduol sy'n myned dan enw Josua, Barnwyr, &c. Y rhai a'u ysgrifenodd, fel yr ydys yn tybied, oedd Josua, Samuel, Nathan, Gad, ac yn enwedig Ezra, yr hwn a ysgrifenodd ddau lyfr y Cronicl ar ol gwaredigaeth yr Iuddewon o gaethiwed Babilon.

Ezra hefyd a ysgrifenodd y llyfr a elwir Ezra; megis yr ysgrifenodd Nehemiah y llyfr sydd yn myned dan ei enw yntef. Yr oeddent yn byw ill dau y'nghylch yr un amser, amryw o flynyddoedd ar ol dychweliad yr Iuddewon o'r caethiwed, fel y mae'n amlwg oddiwrth yr hyn a ddywedwyd uchod.

Llyfr Esther a 'sgrifenwyd gan Mordecai, fel y mae y dysgedig yn gyffredinol yn barnu. Ni wyddys yn sicr pa un o frenhinoedd Persia oedd yr Ahasuerus hwnw: eithr yr ydys yn gadael mai Xerxes tad Artaxerxes ydoedd; canys nid Ahasuerus ond Xerxes y galwai y Persiaid ef. Felly, y pethau a adroddir yn llyfr Esther a ddigwyddasant y'nghylch deng mlynedd a deugain ar ol y dychweliad o Babilon.

Llyfr y Diarhebion, y Pregethwr, a'r Caniadau, a ysgrifenwyd gan Solomon, oddieithr y ddwy benod olaf o'r Diarhebion.

Gweinidogaeth yr holl brophwydi a gynhwysir o fewn yspaid tri chant a deg a deugain

o flynyddoedd, sef o amser Uzzia brenin Juda, a Jeroboam II. brenin Israel, pan y dechreuodd Jona, Hosea, Amos, ac Esay brophwydo, hyd amser Malachi, y diweddaf oll o'r prophwydi, yr hwn a brophwydodd yn nyddiau Ezra a Nehemia y'nghylch pedwar ugain a deg o flynyddoedd ar ol y caethiwed.

Y mae rhyw nifer o hen lyfrau a elwir Apocrypha. Y papistiaid a roddant yr un barch i'r rhai'n ac i'r ysgrythur lân; canys darfu i'r Pâb orchymyn ac ordeinio ar iddynt gael eu cyfrif y'mysg yr ysgrythyrau sanctaidd: eithr yr hyn y mae y dysgawdwyr protestanaidd yn ei farnu o'u plegid yw hyn, sef, Fod llyfr Ecclesiasticus, a llyfr cyntaf y Maccabeaid yn cynwys rhai pethau a all fod er adeiladaeth: am y lleill nid ydynt ond hen chwedlau.

Llyfrau'r Testament newydd, megis y cawsant eu 'sgrifenu gan ddynion sanctaidd Duw, trwy gynhyrfiad a chynorthwy anarferol yr Yspryd Glân; felly y mae enw yr ysgrifenydd yn y teitlau, neu o flaen pob llyfr; am hyny yr y'm yn cyfrif nad yw reidiol dywedyd ond ychydig ar y testun hwn. Am yr Actau, neu hanes gweithredoedd yr apostolion, er na chrybwyllir enw'r awdwr yn amlwg, eto mae'n sicr mai yr efangylwr Luc, anwyl gydymaith Paul, a'i 'sgrifenodd; megis y gwelir yn eglur os cymharir y wers gyntaf o lyfr yr Actau â dechreu yr efengyl yn ol St. Luc.

Holl lyfrau y Testament newydd a orphenwyd cyn pen y can' mlynedd ar ol genedigaeth ein Harglwydd Iesu Grist; a'r diweddaf oll yw llyfr y Datguddiad, yr hwn a 'sgrifenodd yr efengylwr a'r apostol St. Ioan, y'nghylch y

flwyddyn o oed Crist 95. Ac megis y darfu i Ezra a Malachi, wedi iddynt gasglu y'nghyd a gorphen ysgrythyrau yr hen Destament, gyhoeddi melldith ar y sawl ni lynent wrth yr athrawiaeth a gynhwysir ynddynt, felly y mae St. Ioan yn niwedd ei Ddatguddiad, megis yn cloi i fynu holl ysgrythyrau yr hen Destament a'r newydd, trwy gyhoeddi melldithion Duw ar y sawl a 'chwanego atynt neu a dynno oddi wrthynt; ac felly yn arwyddocau nad oes i ni ddisgwyl am ddatguddiadau anarferol o ewyllys Duw yn ychwaneg, hyd oni ddelo Crist i'r farn.

Yma y mae'n gymhwys ini ddal sulw, Pa fath gyfnewidiad mawr a hynod a ddigwyddodd i stât eglwys Dduw y'nghylch y pryd hyn, sef ar ymddangosiad ein Harglwydd Iesu Grist yn y cnawd; canys cyn ei ddyfodiad ef, yr oedd yn orchymynedig offrymu aberthau i arwyddocau y deuai efe i'w offrymu ei hun yn aberth dros bechod: ac nid oedd unrhyw aberthau yn gymeradwy, chwaith, ond y rhai a offrymid ar yr allor yn Jerusalem. Drachefn, nid oedd y ffyddloniaid yn gyffredinol yn derbyn cymaint mesur o ras tu ag at rodio yn fucheddol; ac yn ganlynol, nid oedd ganddynt y fath hyfdra a'r fath obaith cryf tu ag at Dduw ag sydd yn awr i'r saint dan yr efengyl. Y'mhellach, yr oedd naturiaeth y cyfamod o ras, a'r bendithion a'r rhagorfreintiau a gynhwysir ynddo, yn dywyllach yn yr amser hwnw, sef tra parhaodd y weinidogaeth ddefodawl. Yn ddiweddaf, cyn dyfodiad Crist, yr oedd eglwys Dduw yn cael ei chynwys o fewn terfynau un wlad ac un genedl; canys yr Iuddewon oedd unig bobl

Dduw, oddieithr bod ymbell un o'r cenhedloedd weithiau'n ymwrthod â'u delwaddoliaeth, ac yn ymgysylltu â'r Iuddewon, i arddel yr un Duw a'r un grefydd a hwynt, y rhai hyn a elwid proselytiaid; eithr pan ddaeth Crist y Messia i gyflawni gwaith y prynedigaeth, trwy ei offrymu ei hun yn aberth i Dduw o arogl peraidd Eph. 4. 2. dros bechod, nid oedd raid wrth y cysgodau o aberthau mwyach, yn gymaint a bod y sylwedd ei hun wedi dyfod: ac yn gymaint a bod y ffyddloniaid o'i gyflawnder ef yn derbyn gras am ras, hyny yw helaethrwydd o ras, fel y byddo iddynt rodio yn addas i'r alwedigaeth y galwyd hwynt iddi; a chan ddarfod iddo ef fyned i mewn i'r nef ei hun, i ymddangos ger bron Duw dros ei bobl, y mae iddynt anogaeth i neshau gyda hyfdra mawr at Dduw trwyddo ef, fel plant at dad anwyl, yr hwn sy yn barod i'w gwrando, ac i gyfranu iddynt bob bendithion angenrheidiol tu ag at wneuthur eu cyflwr yn ddiogel ac yn hapus. Megis y darfu i Dduw roddi addewid i Abraham, y byddai i'r holl genhedloedd gael eu bendithio yn ei had ef, ac addaw hefyd, trwy y prophwyd Dafydd, y cai ei fab ef, yr eneiniog, sef y Messia, y cenhedloedd yn etifeddiaeth, a therfynau y ddaear yn feddiant iddo; felly y darfu i Grist, yr hwn oedd o had Abraham o ran y cnawd, ar ol ei adgyfodiad oddiwrth y meirw, ddanfon ei apostolion i ddysgu yr holl genhedloedd, ac i godi eglwys iddo ef o fysg yr amryw dylwythau o ddynion oedd yn wasgaredig dros wyneb yr holl ddaear.

Yr apostolion, wedi derbyn eu *commission*, a *doniau cymhwys* i'r gwaith gan eu meistr a'u

hathro; a aethant allan i osod ar deyrnas y gelyn, canys yr oedd yr holl genhedloedd hyd yn hyn, yn gorwedd mewn drygioni, 1 Ioan 5. 19. neu dan lywodraeth y drygwr satan; a chan ymwasgaru trwy yr holl wledydd, darfu iddynt gyfranu gwir wybodaeth o Dduw i'r cenhedloedd, y rhai oeddent eto yn byw yn y tywyllwch o anwybodaeth a ffiaidd eulun-addoliaeth. O blegid eu teithiau, eu poen, eu hasturdrwydd, a'u llwyddiant yn eu gweinidogaeth, fe ddangosir mewn rhan yn llyfr yr Actau neu weithredoedd yr apostolion.

Yn y cyfamser, dechreuodd tywysog teyrnas y tywyllwch osod allan ei holl allu a'i ddichell tu ag at eu gwrthwynebu; canys nis gallai oddef fod y cyfryw rwygiadau yn cael eu gwneuthur yn ei deyrnas ef, yr hon a fwynhausai mewn heddwch dros gynifer o oesoedd. Dwy ffordd enwedigol a gymerodd y cythraul i rwystro gweinidogaeth yr apostolion, y rhai hefyd y mae efe yn arfer i wrthwynebu llwyddiant yr efengyl y'mhob oes, hyd y dydd hwn; sef trwy gyffroi erledigaethau, a thrwy godi hereticiaid i wasgaru gau-athrawiaeth. Am erledigaethau'r apostolion, a'r brif eglwys, y mae'r Actau yn crybwyll, a haneswyr eglwysig eraill yn dangos yn helaeth. Yr hereticiaid a'r gau-athrawon, y rhai a fuant y'mhob oes yn blino ac yn gormesu eglwys Crist oeddynt aneirif. Y rhai cyntaf yn yr eglwys Grist'nogol oeddynt Simon Magus, Menander, Ebion, Nicolas, a Cerinthus, Dat. 2. 6, 15. y rhai'n a gyfodasant yn amser yr apostolion, a'r athrawiaethau a'r opiniwnau oeddynt yn ddal, oedd gyfeiliornus a chableddus iawn.

Y'nghylch y pryd hwn, ac yn yr oesoedd nesaf, ymddangosodd y fath liaws o gau-athrawon, a'r fath amrywiaeth o heresiau ag y byddai yn dasg nid bychan grybwyll yn unig eu henwau. Eithr er bod yr efrau hyn yn codi yn aml, a rhai o honynt yn ymledanu yn ddirfawr, eto nid oeddynt gan mwyaf ond o fyr barhad; canys ni allent wrthsefyll gallu a goleuni yr efengyl. Eithr mae un heretic hynod, yr hwn a fu'n fwy niweidiol i eglwys Dduw na'r rhai hyn oll; a hwn yw y Pâb sydd yn Rhufain. Yr apostolion a ragddywedasant y cyfodai y cyfryw un i wrthwynebu teyrnas Iesu Grist.—Paul yn 2 Thes. 2. 3, 12. a'r apostol Ioan, 1 Ioan 2. 18. Am yr heretic neu'r anghrist yma, sef y Pâb, y mae llyfr y Datguddiad yn traethu mewn ffordd o brophwydoliaeth: fe'i gelwir yno mewn amryw fanau, Yr anifail, nid o herwydd nad yw ef ond un gwr yn unig, canys fe fu ychwaneg na dau cant o Bâbau o'r dechreuad, ond o herwydd eu bod hwynt oll, y naill ar ol y llall, yn cytuno megis un gwr, i gynal i fynu, ac i faentumio y cyfryw grefydd ag sydd yn wrthwynebol i Grist a'i efengyl, ac yn ddistrywiol i eneidiau dynion.

Y Pâb, rhyw fath o esgob ydyw,—esgob nid o apwyntiad neu ordinhad Duw, eithr o ordinhad dynion; ie yn hytrach, y cyfryw esgob a wnaed trwy gynhyrfiad a dirgel weithrediad yr ysbryd hwnw sydd yn gweithio yn mhlant yr anufudd-dod; canys felly y rhagddywedodd yr apostol, 2 Thes. 2. 9. sef, fod ei ddyfodiad ef yn ol gweithrediad satan: ac efe hefyd yw *y bwystfil* hwnw o blegid yr hwn y dywedir

Dat. 11. 7. a 17. 8. iddo ddyfod allan o'r
vll diwaelod. Y cyfryw a hyn, gan hyny,
lyw y Pâb, o ran ei ddechreuad a'i rywog-
th, yr hwn yr ydym yn darparu rhoddi
nes a desgrifiad mwy neillduol o hono. Y
ıe'n gymwys i ni, yn y lle hwn yn gyntaf,
angos pa fath ydyw yr esgobion hyny a
arfu i Grist ei hun eu hapwyntio a'u hor-
inio: canys y mae yn yr eglwys Grist'nogol
yddogion o ordinhad Crist ei hun, y rhai 'n
vir esgobion. Tu ag at ddangos, gan hyny,
ry a pha fath ydyw yr esgobion a ordeiniodd
ist, ni a gawn ystyried y pethau a ganlyn.
Ein Harglwydd Iesu Grist (yr hwn yw
ostol ac arch-offeiriad ein cyffes ni, a bugail
esgob ein heneidiau, efe meddaf) yn amser
weinidogaeth yma ar y ddaear, a bregethodd
efengyl yn ei berson ei hun: felly yr ydym
darllen o'i blegid ef, iddo bregethu efengyl
yrnas Dduw, Marc 1. 14, 15. gan ddywedyd,
lifarhewch a chredwch yr efengyl:—dyma
m neu ystyr ei holl bregethau ef. Ar ei
ıadawiad a'i esgyniad i'r nef, anfonodd ei
ostolion i gyhoeddi newyddion da yr efengyl
vy yr holl fyd, y'mysg y cenhedloedd; fel
mae yn amlwg oddiwrth yr hanes y mae'r
grythur yn ei roddi: felly ni bydd i ni aros i
ywedyd dim y'mhellach o blegid y pethau
u yn bresenol. Eithr y mae i ni yma ys-
ried, mai megis y dywedir o blegid y pro-
wydi, Zec. 1. 5. Y prophwydi, a ydynt
ry yn fyw byth? hyny yw, prophwydi ar ol
lynt wasanaethu eu cenhedlaeth, rhaid idd-
t hwythau farw megis dynion eraill; felly
fyd am yr apostolion, nid oedd i'w gweini-

dogaeth bersonol hwythau barhau ond dros amser. Ond yn gymaint a bod eglwys Crist i barhau tra parhao'r byd, a bod gan Dduw rai i gael eu galw mewn rhyw fanau neu gilydd o'r ddaear y'mhob oes; yn gymaint hefyd ag mai y gair ac ordinhadau yr efengyl yw y moddion arferol, trwy ba rai y mae Duw yn troi ac yn dychwelyd pechaduriaid o stât o bechod i stât o ras, ac yn adeiladu ei bobl yn ei sancteiddiaf ffydd; o herwydd hyn meddaf, darfu i'n Harglwydd Iesu Grist roddi gorchymyn, awdurdod, a *chommission* i'w apostolion, i ordeinio ac i osod i fynu swyddogion perth'nasol i weini yn ei eglwys, ac i gyfranu ordinhadau'r efengyl i'w bobl, tra parhao oesoedd y byd.

Fe fydd i ni, gan hyny, ymosod i ddywedyd yn fwy neillduol o blegid y swyddogion hyny a ddarfu i Grist ei hun, trwy ei apostolion, apwyntio, ordeinio, a sefydlu yn ei eglwys; ac yn enwedigol ddangos pwy a pha fath yw yr esgobion hyny o ordinhad y pen-bugail a'r pen-esgob, ein Harglwydd Iesu Grist. Eithr fel y byddo i ni osod yn amlwg ac yn eglur o flaen y darllenydd, pwy a pha fath yw yr esgobion yma, mae'n rhaid i ni yn gyntaf ddywedyd o blegid yr henuriaid. Peth hysbys yw i bawb ag nad ydynt gwbl ddieithr i'r ysgrythur, fod yno, yn enwedig yn y Testament newydd, sef yn yr Actau a'r Epistolau, son yn fynych am fath o swyddogion yn yr eglwys Grist'nogol, y rhai a elwid henuriaid. Y mae'n amlwg wrth sain y gair, fod ei arwyddocad yn cynwys un a fo'n rhagori mewn oedran. Henwr, neu henafgwr, y galwn ni

un a fo'n tueddu tu ag at eithaf oedran gwr; un a fo wedi myned dros ei ganol-oedran, ac yn brysio i'r rhan honno o'r einioes a elwir henaint: ac felly oddi yma y mae y gair henuriaid yn dyfod.

Yn awr, gan hyny, fe ofynir, Pa fodd y daeth y cyfryw air i arwyddocau swyddog eglwysig? Pa fodd y daeth i arwyddocau un a fo yn dwyn swydd neillduol yn yr eglwys Grist'nogol? Tu ag at roddi ateb perthynasol a chyflawn i'r gofyniad hwn, y mae'n gorfod arnom edrych yn ol ar yr hanes mae yr ysgrythur yn ei roddi oblegid dechreuad y stât Iuddewig. Y peth fydd ini ddal sulw o'i blegid, yw'r hyn a gynhwysir yn y ddeunawfed bennod o lyfr Exodus: yno y mynegir am Jethro, ddyfod o hono ef, gan gymeryd gydag ef Sephora ei ferch, a'i dau fab, i gyfarfod Moses ei ddaw, neu ei fab y'nghyfraith, yn yr anialwch: yn adnod 13 o'r bennod hòno, fe grybwyllir i Moses, yn ol y lle a'r galwad yr oedd wedi cael ei osod ynddo, eistedd i farnu'r bobl, ac i'r bobl sefyll ger bron Moses o'r boreu hyd yr hwyr. Jethro, yr hwn hefyd oedd ŵr call a synhwyrol, pan ddaliodd sulw fod y bobl yn gorfod aros yn hir cyn cael barn yn eu hachosion, a hyny o herwydd mawr amldra y materion, ac hefyd o herwydd nad oedd ond un gŵr, sef Moses ei hun, i wrando ac i ystyried, ac i roddi barn yn y cwbl oll; am hyn gwelodd Jethro yn gymwys roddi i Moses y cyngor hwnw a gynhwysir yn adn. 17. sef, dangos iddo y gallai gael y'mysg y werin fawr hóno, ryw nifer o wŷr call, synhwyrol, a chywir, y cyfryw a fyddent gymwys i roddi barn union rhwng gŵr a gŵr; a thrwy

wneuthur o hono swyddogion neu farnwyr o'r cyfryw rai, y byddai iddo esmwythau y baich arno ei hun, ac ar y bobl hefyd: felly darfu i Moses, y pryd hwnw, wneuthur etholiad a dewisiad o'r rhai mwyaf cymwys o fysg y bobl, i fod yn gynorthwywyr iddo, yn ol cyngor ei chwegrwn, neu ei dad y'nghyfraith, Jethro.

Yn awr y mae i ni ymholi, Pwy a pha fath wŷr a ddewisodd Moses i fod yn gynorthwywyr iddo ar yr achos hwn? Yn adnod 25 hwy a elwir yn wŷr grymus; er bod y gair hwn yn yr iaith wreiddiol yn arwyddocau rhai yn rhagori mewn grym corphorol, eto mae'n arwyddocau hefyd rai yn rhagori mewn grym ac egni calon ac ysbryd; hefyd rai'n rhagori mewn synwyr, deall, a gwybodaeth; ac yn wir, yn y meddwl yma mae i ni yn hytrach gymeryd y gair yn y lle hwn. Pobl o ran synwyr, deall, profiad, a gallu i roddi barn, yn rhagori ar eraill; ac hefyd, pobl neu wŷr disigl; y cyfryw, pan fyddont ar yr union, na newidiant eu pwrpas na'u *resolution* er neb. Hefyd, fe grybwyllir am y gwŷr yma yn Deut. I. 13. fe'u gelwir yno yn wŷr doethion a deallus; sef, rhai yn gwybod ac yn deall pethau trwy hir brofiad, fel y mae y gair yn arwyddocau. Y mae lle arall yn Numeri 11. 24, 25. yn son am yr un gwŷr; fe ddywedir yno am danynt, mai henuriaid a henafgwyr oeddent; a dyma'r peth sydd i ni yn awr ddal sulw arno, ac ymholi o'i blegid; sef, Pa'm y darfu i Moses wneuthur dewisiad o'r cyfryw rai ag oeddent henafgwyr? Tu ag at ddangos pa ham y dewisodd efe y cyfryw i fod yn farnwyr ar y bobl, rhaid i ni ystyried y cyflwr y buasai yr Israeliaid ynddo yn yr Aipht:

yr oeddent wedi bod dros lawer o flynyddoedd yn goddef cyfyngder a chaethiwed caled; yn treulio eu nerth a'u hamser yn gweithio ac yn ymboeni dros Pharao:—torf o gaeth-weision oeddent; ac o ran dysg a disgyblaeth, yr oeddent oll megis ar yr un fantol, heb un yn rhagori ar y llall: ac yr oeddent newydd ddyfod allan o'r caethiwed hwnw yn awr, pan aeth Moses y'nghylch gwneuthur y dewisiad yma. Felly, yn gymaint a bod holl dyrfa yr Israeliaid, yn awr, yn gyfryw ag y crybwyllwyd, y gwahaniaeth penaf oedd rhyngddynt o ran gwybodaeth a deall, oedd yn unig mewn perthynas i'r wybodaeth a'r deall sydd trwy brofiad. I'r wybodaeth sydd trwy ddysgeidiaeth, yr oeddent oll yn gwbl ddieithr; ac yn awr, ni a wyddom fod y fantais a'r rhagoriaeth o ochr yr henafgwyr, mewn perthynas i'r wybodaeth a'r deall sydd trwy brofiad: hefyd, yn yr henafgwyr, yn hytrach, y ceir amryw gynheddfau eraill ag sydd gymwys i fod yn y rhai a eisteddant mewn barn, megis pwyll, arafwch, amynedd, tosturi, a chydymdeimlad ag eraill a fo mewn trallod, a'r cyfryw.

Fel hyn ni a welwn yr achos o ba herwydd y darfu Moses wneuthur dewisiad o rai o fysg yr henafgwyr, i gymeryd rhan gyd ag ef o'r swyddogaeth wladol: Ac er i Dduw, ryw faint o amser ar ol hyny, gyfranu doniau anarferol i'r gwŷr hyn, eto darfu Moses y pryd hwnw eu dewis yn ol y cymhwysder presennol a gafodd ynddynt. Er i'r swyddogion yma gael eu dewis, fe allai, o fysg penau y tylwythau, gan mwyaf, eto nid oedd penau y tylwythau chwaith yn addas i'r lle a'r galwad hwnw, eithr y cyn-

heddfau a grybwyllwyd uchod oedd yn rhoddi hawl i'r peth. Gan hyny, yn gymaint ag i'r swyddogion hyn gael eu dewis a'u dethol o fysg yr henafgwyr, neu'r henuriaid, fe alwyd o hyny allan bob math o swyddogion gwledig yn henuriaid; ac wedi dyfod o honynt i wlad Canaan, a chael eu cyfraith wledig yn ysgrifenedig, ac amryw fanteision eraill, trwy ba rai y gallai rhai gael eu gwneuthur yn gymwys i fod yn swyddogion cyn bod yn henafgwyr; eto er hyn oll, y swyddogion gwledig, beth bynag a fyddai eu hoedran, a elwid yn henuriaid: ie, trwy yr holl amser y parhaodd gwladwriaeth yr Iuddewon, yn eu holl lysoedd neu eu heisteddfodau gwledig hwynt, y swyddogion a elwid yn henuriaid. Felly y galwent y rhai a eisteddent yn y cwrt penaf oedd ganddynt, yr hwn oedd gyffelyb i'n parliament ni yma yn Mrydain, o blegid yr hwn yr y'm yn darllen, ei fod yn uno gyda'r archoffeiriaid i fwrw ein Hiachawdwr i farwolaeth, Marc 15. 1. Mat. 26. 59. a 27. 12. Felly dangosasom y modd y daeth y rhai a ddygent swyddau yn y wladwriaeth, yn mysg yr Iuddewon, ar y cyntaf, i gael eu galw yn henuriaid.

Yn nesaf, ni a awn rhagom i ddangos y modd y darfu i swyddogion yn yr eglwys Grist'nogol gael eu galw yn henuriaid: a thu ag at osod y peth hwn yn eglur, ystyriwn y pethau a ganlyn.

1. Ddarfod i Dduw, dros bymtheg cant o flynyddoedd cyn dyfodiad Crist, ddewis ei bobl o fysg yr Iuddewon yn unig; y rhai oeddent o'r dechreuad yn hiraethu am ddyfodiad y Messias; *ond pan* ddaeth efe, ni adnabuant mo

hono; eithr hwy a'u dirmygasant ac a'i gwrthodasant ef, yr unig Iachawdwr, a'r unig Gyfryngwr rhwng Duw a dyn; felly Duw hefyd a'u gwrthododd hwythau.

2. Er i eglwys Dduw ballu y'mysg yr Iuddewon yr amser hwnw, pan y cawsant eu troi heibio; eto gwelodd Duw yn dda fyned rhagddo i alw pobl iddo ei hun o fysg y cenhedloedd; felly eglwys Dduw a gadd ei chynal byth; yr hyn mae'r apostol yn ei ddangos, Rhuf. 11, trwy gyffelybiaeth berthynasol iawn, yr hon y mae'n gymeryd oddiwrth arfer y rhai sy'n trin coed ffrwythau. Y rhai hyn weithiau a gymerant frigyn neu impyn o ryw bren dewisol, ac a'i gosodant mewn boncyff, neu fonyn pren arall; ac mewn talm o amser, y ddau hyn a dyfant i fynu i fod yn un pren; felly y bu mewn perthynas i'r Iuddewon a'r cenhedloedd. Y ffyddloniaid o fysg yr Iuddewon, cyn dyfodiad Crist, oeddent gadwedig trwy ffydd yn y Messia; a phan ballodd y ffydd hon yn eu mysg hwy ar eu gwrthodiad o Grist, y cenhedloedd a gawsant eu galw i broffesu yr un ffydd fyth; felly darfu i'r eglwys Grist'nogol o'r cenhedloedd gael megis ei himpio neu ei hengraffu i'r eglwys Iuddewig: ac megis y mae y boncyff a'r brigyn a impir yn dyfod i wneuthur i fynu un pren, felly y mae yr holl ffyddloniaid o'r Iuddewon ac o fysg cenhedloedd eraill, yn gwneuthur i fynu un eglwys Gatholic, neu un gymanfa sanctaidd o etholedigion Duw.

3. Yn gymaint ac i'r eglwys Grist'nogol o'r cenhedloedd gael megis ei himpio i mewn i'r eglwys Iuddewig, fel y crybwyllwyd, darfu i amryw o'r *terms* neu'r enwau a'r ymad-

roddion oeddynt arferedig yn yr eglwys a'r stât Iuddewig, ddyfod i gael eu harfer yn yr eglwys Grist'nogol; fel hyn, yn yr eglwys Iuddewig yr y'm yn darllen fod aberthau ac offeiriaid; felly yn yr eglwys Grist'nogol, fe elwir holl ddyledswyddau crefyddol y ffyddloniaid yn aberthau; a'r ffyddloniaid eu hunain, y rhai ydynt megis yn eu haberthu hwynt, a elwir yn offeiriaid: felly 1 Pedr 2. 5, 9. ac yn Dat. 1. 6. lle y gelwir hwynt hefyd yn frenhinoedd. Ac yn gymaint a bod brenhinoedd ac offeiriaid y'mysg yr Iuddewon yn cael eu heneinio, fe sonir am eneiniad y ffyddloniaid yn yr eglwys Grist'nogol, 1 Ioan 2. 20, 27. felly hefyd y blaenffrwyth, Iago 1. 18. ffôad i'r ddinas noddfa, Heb. 6. 18. y cyntaf-anedig, Heb 12. 23. ac amryw eraill a ellid eu coffa. Yn ngwladwriaeth yr Iuddewon, yr oedd amryw ragorfreintiau yn perthyn i'r cyntaf-anedig, uwchlaw y lleill o'r tylwyth: am hyny gelwir y saint yn gyntaf-anedig, o herwydd y breintiau rhagorol ac anrhydeddus a berthyn iddynt, uwchlaw pawb eraill o ddynol-ryw. Yn yr unmodd, mewn perthynas i'r henuriaid yr y'm yn traethu o'u plegid; swyddogion oeddent y'mysg yr Iuddewon, fel y dangosasom, yn eistedd i roddi barn yn mhob math o lysoedd, neu eisteddfodau gwledig, tra parhaodd y weinidogaeth foesawl a'r stat Iuddewig: y gair neu'r enw hwn, y mae'r Ysbryd Glân yn ei gymeryd ac yn ei roddi i swyddogion yn gweini yn yr eglwys Grist'nogol dan y weinidogaeth efangylaidd. A thyma'r modd y daeth swyddogion yn eglwys Dduw, dan yr efengyl, i gael eu galw yn henuriaid.

Wedi dangos o honom y modd y darfu i swyddogion yn yr eglwys Grist'nogol gael eu galw yn henuriaid; y peth nesaf fydd i ni ymholi o'i blegid yw, pa fath swyddogion yn yr eglwys Grist'nogol ydyw'r henuriaid yma? Gweinidogion ydynt sydd yn gweini ac yn cyfranu ordinhadau yr efengyl i un gynulleidfa yn unig. Gweinidog a fyddo yn pregethu'r gair ac yn cyfranu'r sacramentau i gynifer o ddynion a allant ymgynull i'r un lle ac i'r un man, a elwir henuriad; sef henuriad yn llafurio yn y gair a'r athrawiaeth.

Peth diddadl ydyw, peth yr ydys yn gyffredin yn cytuno o'i blegid, mai swydd henuriaid yw gweini i un gynulleidfa yn unig. Eithr pe b'ai angenrhaid, ni a allem brofi'r peth trwy ysgrythur, fel hyn:—yn eglwys y Corinthiaid yr oedd henuriad, ie yn hytrach henuriaid; fel y mae'n amlwg o'r Actau 13. 23. lle y crybwyllir mai arfer yr apostolion oedd ordeinio henuriaid yn mhob eglwys, ac yn ganlynol yr oedd henuriaid wedi cael eu hordeinio yn eglwys Corinth. Drachefn, y mae i ni ddal sulw ar yr hyn a gynwysir yn 1 Cor. 5. lle mae yr apostol yn beio ar y Corinthiaid am na ddarfuasai iddynt ysgymuno yr aelod llygredig hwnw; yr hyn beth nis gallasent ei wneuthur, megis y gweddai, oni buasai fod ganddynt henuriaid a phob swyddogion a berthyn i eglwys; canys ni ellir dywedyd fod yr apostol Paul ei hun yn lle henuriaid iddynt ar yr achos hwn, o herwydd y mae yr apostol yn eu ceryddu yn llym iawn am na ddarfuasai iddynt ysgymuno yr aelod hwnw eisoes, cyn iddo ef glywed dim o blegid

y peth: ac am hyny yr oedd ganddynt awdurdod ynddynt eu hunain i dori ymaith y cyfryw aelod trwy ddisgyblaeth eglwysig; a thu ag at allael o honynt wneuthur hyn yn ol y rheol a'r drefn a ordeiniodd Crist yn ei eglwys, yr oedd yn rhaid bod ganddynt henuriaid: am yr eglwys yma, sef eglwys Corinth yr oedd yn cynwys cynifer o eneidiau a allent ymgynull i'r un lle i wrando ac i addoli, megis y mae yn amlwg o'r 1 Cor. 11. 18. Pan ddeloch y'nghyd yn yr eglwys; hyny yw, pan ddeloch y'nghyd yn gynulleidfa; canys cynulleidfa ac eglwys, yr un peth ydynt: nid oes dim gwahaniaeth rhyngddynt, oeddieithr bod y naill air yn Gymraeg a'r llall yn Roeg: ac yn adn. 20. Pan fyddoch chwi yn dyfod y'nghyd i'r un lle. Eilwaith, pen. 14. 23. fe grybwyllir fod yr eglwys, hyny yw y gynulleidfa, yn dyfod oll y'nghyd i'r un lle. Lleoedd eraill a ellid eu coffa at yr un pwrpas; eithr ni buasai raid ddywedyd o honom ddim o blegid y peth hwn, canys peth yr ydys yn cytuno ynddo ydyw, mai henuriad yw swyddog yn yr eglwys Grist'nogol sydd fugail ar un gynulleidfa yn unig.

Bellach, fe fydd i ni fyned yn mlaen i ddywedyd o blegid yr esgobion, sef yr esgobion hyny sydd o ordinhad Crist ei hun: ac fel y byddo i ni roddi hanes eglur o'u plegid, fe fydd i ni roddi ateb i'r gofyniad a ganlyn, sef Pwy, a pha fath ydyw yr esgobion hyny sydd o ordinhad y pen-bugail a'r pen-esgob ein Harglwydd Iesu Grist? yr un rhai ydynt a'r henuriaid y buom yn traethu o'u plegid. Yr *henuriaid* sydd yn llafurio yn y gair a'r

athrawiaeth, a'r esgob a apwyntiodd Crist yn ei eglwys, yr un rhai ydynt; ac fel y byddo i ni ddangos gwirionedd y peth, fe fydd i ni ystyried tri lle o'r ysgrythur; sef y rhai a ganlyn: "Ac o Miletus efe a anfonodd i Ephesus, ac a alwodd ato henuriaid yr eglwys.—Edrychwch gan hyny arnoch eich hunain, ac ar yr holl braidd, ar yr hwn y gosododd yr Ysbryd Glân chwi yn olygwyr, i fugeilio eglwys Dduw." Act. 20. 17, 28. Y geiriau hyn a 'sgrifenwyd, trwy gynhyrfiad yr Ysbryd Glân, yn y iaith Roeg, fel hyn, "Ar yr hwn y gosododd yr Ysbryd Glân chwi yn esgobion, i fugeilio eglwys Dduw:" felly, yr un rhai ag y mae'n alw yn henuriaid yn adn. 17, y mae yn adn. 28 yn eu galw yn esgobion. Yma ystyriwn, 1 fod yr apostol yn cymeryd ei genad oddiwrth yr henuriaid yma dros byth; 2 am hyny, mai dyma'r amser cymhwysaf iddo ef sefydlu y cyfryw drefn a rheolaeth yn eu mysg hwy ag oedd i barhau drostynt oll. 3 Y mae'r apostol yn hysbysu i'r henuriaid yma, mai hwynt-hwy oedd yr esgobion a apwyntiodd ac a ordeiniodd yr Ysbryd Glân i fod yn fugeiliaid ar eglwys Dduw: felly, dyma un lle o'r ysgrythur yn profi'r peth mo'r amlwg ac eglur nas gellir gwrthddywedyd mo hono.

Awn rhagom eto i ystyried lle arall, sef Tit. 1. 5, 6, 7. "Er mwyn hyn y'th adewais yn Creta, fel yr iawn drefnit y pethau sy'n ol, ac y gosodit henuriaid yn mhob dinas, megis yr ordeiniais i ti. Os yw neb yn ddiargyhoedd; —canys rhaid i esgob fod yn ddiargyhoedd fel goruchwyliwr Duw." Ni a welwn yma fod yr apostol yn gorchymyn i Titus ordeinio y

cyfryw rai i fod yn henuriaid a fyddent ddiargyhoedd: oddiwrth hyn y mae'n amlwg, mai yr un yw yr esgob a'r henuriad; gan ei fod yn rhoddi yr achos pa ham yn y geiriau a ganlyn, "Canys rhaid i esgob fod yn ddiargyhoedd."

Felly rhoddasom ddwy dystiolaeth o'r ysgrythur i brofi'r peth: y trydydd lle yw 1 Pedr 5. 1, 2. y mae'r apostol yno yn gorchymyn i'r henuriaid borthi praidd Duw yr hwn oedd yn eu plith, gan fwrw golwg arnynt, nid trwy gymell: neu yn ol y Groeg, gan fod yn esgobion arnynt.

Rhaid i ni yma, gan hyny, ddal sulw, 1 y mynai yr apostol i'r henuriaid wybod ac ystyried eu bod hwy yn esgobion. 2 Fe fynai iddynt wybod, mai eu gwaith a'u dyledswydd hwy, megis esgobion, ydoedd porthi praidd Duw yr hwn oedd yn eu plith; hyny yw, gweini a chyfranu ordinhadau yr efengyl i'r cynulleidfaoedd hyny ar y rhai yr oeddent wedi cael eu gosod yn fugeiliaid. 3 Y mae i ni ddal sulw, fod yn eglur oddi yma hefyd, mai yr henuriaid yw'r esgobion a ordeiniodd Crist, trwy ei apostolion, i borthi praidd Duw.

Erbyn hyn, yn gymaint ag mai henuriad yw gweinidog sydd yn fugail ar un gynulleidfa yn unig; ac hefyd mai yr un swyddog eglwysig yw yr henuriad a'r esgob a ordeiniodd Crist yn ei eglwys; am hyny, meddaf, fe ofyn y darllenydd, o ba le y daeth, a phwy a osododd i fynu, y rhai sydd yn awr yn cael eu galw yn esgobion, y rhai ydynt yn esgobion ar gant, ie ar gannoedd o gynulleidfaoedd?

Cyn y bydd i ni allael rhoddi hanes eglur o blegid y rhai a elwir yn esgobion, yn yr

amseroedd hyn, y mae'n rhaid i ni ddangos o blegid math arall o esgobion: canys heblaw yr esgobion a ordeiniodd Crist trwy ei apostolion, ac heblaw y rhai a elwir yn y dyddiau hyn yn esgobion, fe fu gynt yn yr eglwys Grist'nogol ryw fath neu rywogaeth arall o esgobion; ac fe fydd i ni roddi hanes y rhai'n fel y canlyn.

Y mae i ni, gan hyny, ddal sulw, 1 ddarfod i'r apostolion, ar eu hymadawiad, adael a gorchymyn yr eglwysi i ofal a goruwch-olygiad yr esgobion neu'r henuriaid, y rhai y dangosasom mai yr un ydynt; hefyd rhoesant amryw hyfforddiadau mewn ffordd o gyfarwyddid i'r esgobion neu'r henuriaid yma, pa fodd y dylent ymddwyn tu ag at y cynulleidfaoedd neu'r eglwysi, ar y rhai yr oeddent wedi eu gosod yn fugeiliaid; ac hefyd i'r bobl, pa fodd y dylent hwythau ymddwyn tu ag at eu gweinidogion neu eu bugeiliaid. 2 Y drefn a'r ddisgyblaeth a ddarfu i'r apostolion osod i fynu yn yr eglwysi, oedd i sefyll ac i barhau hyd ddiwedd y byd: canys y drefn eglwysig a sefydlodd Crist, trwy ei apostolion, oedd y ddiweddaf oll. 3 Yr ydym yn gweled i gyfnewidiad gael ei wneuthur ar y rheol a'r drefn eglwysig a adawsai'r apostolion; yr hwn a wnaed fel hyn,—

Yr esgobion a ddarfu i'r apostolion eu hapwyntio a'u hordeinio, yr un a'r henuriaid oeddent; eithr cyn pen can' mlynedd ar ol marwolaeth yr apostolion, yr y'm yn canfod fod esgobion a henuriaid megis swyddogion gwahanol yn yr eglwys:—yr esgobion yn rhyw fath o uwch-swyddogion, a'r henuriaid yn is-swyddogion. Yn ol apwyntiad yr apostolion, yr oedd *yr henuriaid* yn gyd-weinidogion, ac

gyd-fugeiliaid ar y gynulleidfa; yr oeddent oll o'r un gradd ac awdurdod: eithr pan wnaed y cyfnewidiad yma, fe gymerwyd, y'mhob cynulleidfa, un o'r henuriaid, a gosodwyd ef yn ben ar y lleill. Yr oedd yn yr amseroedd cyntaf fagad o henuriaid ar un gynulleidfa, canys felly yr oedd achosion yr eglwys yn gofyn: felly, gan hyny, y gwnaethant yn y cyfnewidiad yma; cymerasant un o'r henuriaid oedd yn gweini i'r gynulleidfa, a gosodasant ef yn ben ar y lleill: yr hwn a wnaethid yn ben, a alwyd o hyny allan yn esgob; a'r lleill ni chaent eu galw ond henuriaid yn unig: efe yn unig a gyfrifid yn fugail ar y gynulleidfa neu'r eglwys, a'r lleill yn gynorthwywyr iddo. Fel hyn y gwnaed y'mhob un o'r cynulleidfaoedd neu'r eglwysi, trwy holl gred.

Y'mysg yr amryw rywogaethau o esgobion a ddyfeisiwyd gan ddynion, dyma'r gyntaf; o blegid yr hon fe fydd i ni ymholi tri pheth: 1 Pa bryd y dechreuwyd gosod i fynu y cyfryw esgobion a'r rhai'n? 2 Pa faint ydoedd eu hesgobaeth hwynt? 3 Pa ham y gosodwyd hwynt i fynu ar y cyntaf?

1. Pa bryd y dechreuwyd gosod i fynu y rhywogaeth hon o esgobion? Yr esgobion yma a ddyfeisiwyd ryw amser ar ol i Clemens Romanus ysgrifenu ei lythyr at eglwys y Corinthiaid. Tu ag at ddeall pwy ydoedd y Clemens yma, y mae i ni ystyried fod yr eglwys oedd yn Rhufain, ar y cyntaf, yn hynod iawn o ran ei phurdeb a'i duwioldeb, megis y mae'r apostol Paul yn tystiolaethu, Rhuf. 1. 8. a darfu iddi barhau felly dros dro, er iddi ddyfod o'r diwedd i fod yn orseddfa anghrist.

Y'nghylch 30 o flynyddoedd ar ol marwolaeth yr apostol Paul, yr oedd Clemens o Rufain. Yr amser hwnw, yr oedd rhyw ymrafael ac anghydfod wedi tori allan yn eglwys Corinth, megis ag y buasai o'r blaen yn amser yr apostol Paul; eithr yn awr yn fwy. Yr anghydfod yma oedd yn benaf rhwng y bobl a'r gweinidogion neu'r henuriaid. Ar yr achos hwn, darfu i'r Clemens a grybwyllwyd, ysgrifenu llythyr atynt, tu ag at wneuthur undeb a heddwch rhyngddynt.

Mewn perthynas i'r llythyr hwn, mae'r pethau a ganlyn i'w hystyried. 1 Yr oedd y gynulleidfa honno yn Corinth, y pryd hwnw, wedi bwrw ymaith amryw o'u gweinidogion: 2 Am hyny y mae Clemens yn dywedyd wrthynt, iddynt wneuthur peth cywilyddus iawn, a gwaradwyddus i'w proffes; ac yn gorchymyn iddynt dderbyn eu henuriaid drachefn, a bod yn ufudd ac yn ostyngedig iddynt. 3 Y mae yn dywedyd fod yr henuriaid hyny a fwriasent hwy ymaith, yn rhai a fuasent yn gwneuthur gwaith esgobion yn eu mysg hwynt. 4 Y mae yn dywedyd fod yr henuriaid hyny a fwriasent hwy heibio, yn gyfryw esgobion ag a gawsent eu hordeinio yn ol y drefn a'r rheol a ddarfu i'r apostolion eu hapwyntio a'u sefydlu yn yr eglwys.

Fel hyn, ni a welwn fod Clemens yn dywedyd yr un peth a'r ysgrythur o blegid henuriaid ac esgobion; sef mai yr un ydynt: am hyny, mae yn amlwg oddi yma, fod yr esgoboin newydd a grybwyllwyd, heb gael eu gosod i fynu yn ei amser ef; eithr fe debygid oddiwrth yr hyn yr ydym yn weled yn y llyfrau a 'sgrifenwyd

yn yr amseroedd hyny, mai o ddeutu canol yr oes nesaf ar ol yr apostolion y cafodd yr esgobion yma eu gosod i fynu. Y'nghylch yr amser hyny y gwnaed y cyntaf o'r cyfryw esgobion yn Corinth, megis y mae Eusebius, yn llyfr 4. pen. 22. o'i hanes eglwysig, yn dangos; ac y mae'n debygol mai y'nghylch yr un amser y gosodwyd hwynt i fynu mewn eglwysi eraill. Hyd yn hyn o blegid dechreuad yr esgobion yma.

2. Fe fydd i ni ymholi, Pa faint oedd eu hesgobaeth hwynt? Esgobaeth yr esgobion yma nid oedd ond un gynulleidfa yn unig: yr oedd yr esgobion eto megis yn eu mebyd, ac felly, o fesur ychydig ac ychydig, daethant i fod yn fawrion, megis y mae'r rhai a elwir yn esgobion yn y dyddiau hyn. Nad oedd ond un gynulleidfa yn unig dan olygiaeth yr esgobion yma, sydd amlwg o lyfrau y gwŷr dysgedig oedd yn byw yn yr amseroedd hyny, megis y canlyn:—

Justin Martyr sydd yn dywedyd fod yr holl bobl oedd dan olygiaeth yr esgob, yn ei amser ef, yn ymgynull i'r un man ar y sabboth, i wrando'r gair ac i dderbyn y sacrament o swper yr Arglwydd, Apol. 2. p. 77. Yr oedd ef yn byw y'nghylch canol yr oes gyntaf ar ol yr apostolion.

Ignatius, yn ei epistol at eglwys yr Ephesiaid, sydd yn erchi i'r holl eglwys ymgynull yn fynych i'r un man, i wrando'r esgob, ac i gyd-uno âg ef mewn gweddi. Yn yr epistol at y Magnesiaid, y mae'n gorchymyn i'r eglwys oedd yn perthyn i'r esgob, redeg y'nghyd i'r *un man,* megis i un deml. Yn yr epistol at y

Philadelphiaid, y mae yn crybwyll fod holl braidd yr esgob yn cymeryd y sacrament o swper yr Arglwydd ar yr un bwrdd. Yr epistolau hyn a 'sgrifenwyd o ddeutu 100 mlynedd ar ol amser yr apostolion.

Tertullian sydd yn dywedyd, fod yr holl braidd oedd yn perthyn i'r esgob, yn derbyn y bara a'r gwin o law yr esgob ei hun; ac yr oeddent, y pryd hyny, yn cyfranu swper yr Arglwydd bob sabboth, *de corona*, cap. 3. *de oratione*, cap. 14. Yr oedd ef yn byw yn nghylch can mlynedd ar ol ymadawiad yr apostolion.

Cyprian, yr hwn oedd ei hun yn esgob, oedd yn adnabod pob un yn ei esgobaeth, epist. 38. Mae ef hefyd yn crybwyll, pan ddarllenid pennod o'r ysgrythur yn y tŷ cyfarfod, y gallai y brodyr i gyd, neu'r holl braidd, weled a chlywed y darllenwr, epist. 34. Y mae Cyprian yn dywedyd y'mhellach, fod y brodyr i gyd, hyny yw, yr holl bobl oedd tan ei olygiaeth ef, yn bresennol pan gyfreuid swper yr Arglwydd, epist. 63. Yr oedd ef yn byw y'nghylch 140 o flynyddoedd ar ol amser yr apostolion.

Y mae hen lyfr a elwir *Apostolical constitutions*, a 'sgrifenwyd y'nghylch 200 o flynyddoedd neu ragor ar ol amser yr apostolion, yn crybwyll y gallai holl braidd yr esgob weled dagrau y dyn edifeiriol, yr hwn a dderbynid i'r eglwys ar ol ei ysgymuniad, lib. 2. cap. 10. Y mae'n dywedyd hefyd, fod yr esgob yn adnabod pob un o'r tlodion, yn neillduol, ibid. cap. 27.

Yr oedd yr eglwys oedd yn Ephesus, yn amser yr esgobion yma, yn ymgynull i addoli i'r un tŷ, Euseb. Eccles. Hist. lib. 7. cap. 26.

Llawer rhagor o leoedd allem eu crybwyll, pe b'ai angenrheidiol, i ddangos nad oedd ond un gynulleidfa, neu un plwyf, dan olygiaeth yr esgobion yma.

3. Awn rhagom eto i ymholi, Paham y gosodwyd i fynu yr esgobion yma ar y cyntaf? Fel y byddo ini roddi ateb cymwys ac eglur i'r gofyniad hwn, y mae'n rhaid i ni ystyried tymer ac ymddygiad y cenhedloedd, ar ol iddynt dderbyn yr efengyl. Yr eglwys Grist'nogol a gyfrifir yn bur dros y tair oes gyntaf; ac yn ddiau felly y bu, mewn cyffelybrwydd i'r hyn a fu o hyny allan; canys o hyny allan, darfu i lygredigaeth, fel llifeiriant, ymdaenu trwy holl gred: eithr yn wir ni bu neppell hyd oni ddarfu i'r eglwysi o'r cenhedloedd laesu a llesghau yn eu zêl. Ymddangosodd y dymer yma mewn amryw o honynt, tra'r ydoedd yr apostolion eto yn fyw. Eglwysi Asia a roesant achos i'w ceryddu yn gynar iawn, Dat. 2. 3. Y tueddrwydd oedd yn yr eglwysi i ŵyro ac i gilio yn ol, sydd amlwg hefyd oddiwrth amryw o epistolau yr apostol Paul.

Ar ol ymadawiad yr apostolion, darfu i ffurfioldeb a chnawdolrwydd ymddangos eto yn fwy, yn yr eglwysi Crist'nogol yn gyffredin: a phan elo dynion yn gnawdol, yna y bydd i'r i'r rhinweddau da a ddylent fod yn mhroffeswyr y grefydd Grist'nogol ballu; megis hunanymwadiad, amynedd, zêl, cariad brawdol, a'r cyfryw; fel y mae'r apostol yn dangos, 1 Cor. 3. 3, 4. "Canys cnawdol ydych chwi eto: canys tra fyddo yn eich plith chwi genfigen, a chynnen, ac ymbleidio; onid ydych yn gnawd-*ol, ac yn rhodio* yn ddynol." Ni a welwn y

modd y mae'r apostol yn mynegu i'r Corinthiaid eu bod yn gnawdol, ac yn crybwyll y drwg ffrwythau oedd yn tarddu o'u cnawdolrwydd hwy. Y dymer hon, a'r drwg-ffrwythau hyn, a ymddangosasant yno, ac mewn manau eraill, yn fwy eto o hyny allan.

Yn lle derbyn y gair gyda chariad, gostyngeiddrwydd, a zêl; ac yn lle rhoddi'r cariad a'r parch dyledus i bob un o'u gweinidogion, fe fu iddynt roddi mwy o barch i rai nac i eraill o honynt, yn gyffelyb i'r Corinthiaid yn amser yr apostol Paul, "Myfi ydwyf eiddo Paul,—myfi ydwyf eiddo Apollos;" felly bu iddynt yn fynych, trwy'r cyfryw achlysur, wneuthur ymraniadau, schismau, a gwahaniadau yn eu mysg eu hunain. O achos hyn, fe dybiwyd yn gymmwys gymeryd un o'r cyfryw henuriaid oeddynt hyd yn hyn yn gyd-weinidogion i'r gynulleidfa, a'i osod ef yn flaenor ar y lleill; a'r blaenor hwn yn unig a gyfrifid yn fugail y gynulleidfa, a'r henuriaid eraill yn gynorthwywyr iddo ef. Efe yn unig a elwid yn esgob, o hyny allan; a'r lleill ni elwid yn esgobion mwyach, ond yn unig henuriaid: efe a fedyddiai ac a gyfranai swper yr Arglwydd; efe oedd yn mlaenaf yn y cwbl; y lleill oeddent gyd-weithwyr a chynorthwywyr, fel y byddai achosion.

Felly dangosasom yr achlysur a gymerwyd i newid y llywodraeth a ordeiniodd Crist, trwy ei apostolion, yn yr eglwys Grist'nogol. Yr esgobion yma a ddyfeisiwyd mewn ffordd o feddyginiaeth yn erbyn rhwygiadau yn yr eglwys; eithr diogelach fuasai iddynt gadw wrth y rheol a osodasai Crist i fynu yn ei eglwys; yr hwn sydd fab ar ei dy ei hun: canys y feddyginiaeth

hon a brifiodd yn y diwedd i fod yn llawer gwaeth na'r clefyd; megis y bydd i ni yn y man ddangos yn fwy neillduol.

Y rhywogaeth hon o esgobion a barhaodd hyd y'nghylch y flwyddyn 300 o oed Crist; ac mewn rhai manau lawer o flynyddoedd ychwaneg. Un o'r rhai manylaf sy'n dwyn achau yr esgobion hyn, yw Jerome; yr hwn oedd hynod o ran duwioldeb a dysg, yn ei amser; yn gyfarwydd y'mhob math o lyfrau: fe 'sgrifenodd lawer o lyfrau oblegid dechreuad yr esgobion yma, pan oedd yn henafgwr, wedi cael amser a chyfleusdra i ddyfod i adnabyddiaeth o'r peth, a'i ddeall a'i farn gadarnaf wedi eu sefydlu. Yr oedd ef yn byw y'nghylch 200 o flynyddoedd ar ol ymadawiad yr apostolion, *Hieron. Comment. in Titum. Hieron. Ep. ad Oceanum. & Ep. ad Evagr.*

Yn nesaf, yr ydym yn dyfod i roddi ateb i'r gofyniad a gyfodasom uchod; sef, O ba le y daeth, a pha fodd y gosodwyd i fynu y rhai sy yn awr yn cael eu galw yn esgobion? Tu ag at roddi ateb i'r gofyniad, y mae'n rhaid i ni yn gyntaf ddywedyd ychydig oblegid *councils*, neu *synods*; yr hyn yw cymanfa o weinidogion neu esgobion, a ymgynullant y'nghyd, i ystyried ac i sefydlu matterion crefydd. Yr arfer gynt, oedd i'r esgobion oedd yn byw yn yr un wlad, ymgynull i'r un man, i'r diben a'r pwrpas hwnw: ac weithiau dewisid rhai o holl esgobion cred i ymgynull mewn ffordd o *gouncil*. Y rhai hyn a wnaent ryw fath o erthyglau neu reolau i drefnu matterion crefydd yn yr eglwys Grist'nogol; y rheolau a wnaent a elwid *canons*, a *decrees*: a pheth hynod sydd i ni

i'w ystyried yma, ydyw, y byddai i'r rhai'n yn fynych wneuthur rheolau y'ngwrthwyneb i'r ysgrythur. O'r flwyddyn 300 o oed ein Harglwydd, hyd yn ddiweddar, y *councils* yma a gynhelid yn fynych iawn. Y diweddaf, a mwyaf hynod, oedd yr hwn a gynhaliwyd (nid yn gyson ond ar amserau) o'r flwyddyn 1545, hyd y flwyddyn 1563.

Yn awr, y mae i ni ystyried, pan ddechreuwyd cynal y *councils* yma gyntaf, fod yr esgobion eto yn fân; yn fugeiliaid ar un gynulleidfa yn unig, fel y dangosasom uchod: eithr yn gymaint a bod ffurfioldeb a bydolrwydd, erbyn hyn, wedi gorchfygu yn fawr iawn y'mysg pob math o broffeswyr, yr un fath offeiriad a phobl; y gweinidogion a chwenychent fod yn esgobion, er mwyn y budd a'r anrhydedd oedd yn perthyn i'r lle, yn hytrach nac er mwyn gwneuthur lleshad i eneidiau dynion: ac yn gymaint a bod trachwant y byd a'r cnawd yn gyfryw beth nad oes boddloni arno, darfu i'r esgobion, (y rhai oeddent eto yn gymhedrol fychain fel y crybwyllwyd) ddyfeisio pa fodd y byddai iddynt helaethu eu harglwyddiaeth; yr hyn a wnaethant fel y canlyn.—

Yma, yn gyntaf, rhaid i ni ddal sulw, mai yr esgobion oedd weinidogion yn y trefydd mwyaf, a ddewisid, yn gyffredin, i eistedd yn y *councils;* ac am hyny yr oedd ganddynt fantais a chyfleustra i drefnu yr esgobion oedd yn y wlad o amgylch, fel y gwelent hwy yn dda. Ac felly bu iddynt wneuthur canonau neu reolau i'r pwrpas hyn. Hwy a ordeiniasant i'r esgobion oedd yn y trefydd mwyaf, ac ar y cynulleidfaoedd mwyaf, fod yn esgobion yn

unig; eithr yr esgobion oedd mewn pentrefi bychain, ac yn y wlad, o amgylch i'r dref benaf, y rhai hyn a fwriasant i lawr; ac ni cha'i y pentrefi a'r cynulleidfaoedd ar hyd y wlad un esgob mwyach, ond yn unig y rhai a elwid yn henuriaid i fod yn weinidogion iddynt; a'r esgobion oedd yn y trefydd mwyaf ac yn y dinasoedd, a wnaed yn benau neu'n olygwyr ar yr henuriaid hyny, ac ar eu cynulleidfaoedd. Fel hyn y gwnaeth y *council* a ymgynullodd yn Sardis yn Thracia, y'nghylch y flwyddyn 349, a'r *council* a ymgynullodd yn Laodicea yn y flwyddyn 360; ac amryw eraill, y naill ar ol y llall. Y *councils* yma oeddent ryw fath o barliament eglwysig; a'r canonau neu'r rheolau a ordeinient hwy, fe gyfrifid yr holl eglwys Grist'nogol yn rhwymedig i'w cadw. Fel hyn y darfu iddynt o amser i amser, ledanu a helaethu pŵer ac arglwyddiaeth yr esgobion. O'r blaen, nid oedd esgobaeth un esgob ond un gynulleidfa neu un plwyf yn unig; yn awr, gosodwyd dan ei esgobaeth ef ran fawr o'r wlad: o'r blaen, yr oedd esgobion yn aml ac yn fychain; yn awr fe'u gwnaed yn anaml, eithr yn fawrion: canys darfu i'r esgobaethau mawrion a ganlynodd, lyngcu i fynu yr esgobaethau mân oedd o'r blaen; a'r pryd y cafodd yr esgobion bychain eu diwedd a'u terfyn, cafodd yr esgobion mawrion eu genedigaeth. Darfu i'r esgobaethau yma gynyddu fwy-fwy, hyd onid aethant o'r diwedd i gynwys cant, ïe cannoedd, a rhai o honynt chwaneg na mil o gynulleidfaoedd neu blwyfau. Y rhywogaeth hon o esgobion a gynhelir byth [illegible] *eglwys Rhufain*, ac hefyd y'mysg rhai sydd

yn arddel y diwygiad. Felly dangosasom y modd y gosodwyd i fynu y rhai sydd yn y dyddiau hyn yn cael eu galw'n esgobion.

Y mae i ni hefyd ddal sulw, i'r *councils* nid yn unig fwrw yr esgobion bychain i lawr, a gosod i fynu esgobion mawrion yn eu lle; ond darfu iddynt wneuthur math o esgobion i fod yn olygwyr ar yr esgobion mawrion yma, y rhai a alwent yn arch-esgobion: fe wnaed teitlau oedd uwch hefyd, megis *exarchs, patriarchs, primates*, &c.

Ystyriwn y'mhellach, fod parch arbenig yn cael ei roddi i esgobion rhai trefydd a dinasoedd, megis o ewyllys da, tra'r oedd yr esgobion eto yn fân, fel y bydd i ni ddangos isod: eithr ar ol i'r *councils* yma helaethu yr esgobaethau, a gwneuthur esgobion ar esgobion, megis arch-esgobion, *metropolitans, exarchs, patriarchs, primates*, a'r cyfryw; erbyn hyn, yr oedd gan esgob Rhufain achlysur gwych i'w osod ei hun i fynu yn ben esgob ar holl gred: canys, yn gymaint a bod esgobion mawrion iawn wedi cael eu gwneuthur eisoes, darfu i esgob Rhufain ymroi i beri i'r byd gredu y dylai fod un esgob ar y cwbl, ac mai efe ddylai hwnw fod: a bu ymdrech mawr rhwng rhai o honynt oblegid y ben-esgobaeth; eithr darfu i esgob Rhufain orchfygu, megis y bydd i ni eto grybwyll yn fwy neillduol.

Yn awr, oddiwrth y cwbl oll, y mae i ni weled pa mor enbyd yw ceisio bod yn ddoeth, tu hwnt i'r hyn sydd ysgrifenedig, yn materion crefydd. Nid oedd y gwyrad oddiwrth y rheol ysgrythyrol ond bychan, fel y tebygid, ar y cyntaf; eithr pan ddechreuwyd gwneuthur

cyfnewidiad, nid ellid ymatal rhag myned etto y'mhellach; fel y gellir dywedyd, ddarfod iddynt trwy y cyfnewidiau hyny, megis balmantu a pharotoi ffordd i'r anghrist ddyfod i mewn i deml neu eglwys Dduw.

Y swyddogion a ordeiniodd Crist yn ei eglwys yw y rhai hyn:—1 Yr henuriad sy'n llafurio yn y gair a'r athrawiaeth, neu yr esgob, canys yr un ydynt: 2 Yr henuriad sy'n llywodraethu yn unig: oblegid yr henuriad yma y mae'r ysgrythur yn crybwyll yn 1 Tim. 5. 17. Rhuf. 12. 8. 1 Cor. 12. 28. (yn yr oesoedd cyntaf, yr y'm hefyd yn darllen gan fod y cyfryw swyddogion yn yr eglwys yn llygredig, hwy a drowyd heibio; eithr pan ddaeth y diwygiad, hwy a gymerwyd i fynu drachefn, oddieithr mewn rhai manau.) 3 Y diacon.

Y swyddogion a berthyn i eglwys Rhufain yw y rhai a ganlyn; sef, 1 *Ostiary* neu y clochydd. 2 *Lector*, y darllenwr. 3 *Exorcist*, rhyw fath o gonsurwr yw hwn, ei swydd ef ydyw bwrw allan y cythraul o'r rhai cythreulig. 4 *Acolyth*, ei swydd ef yw enyn y canwyllau, &c. 5 *Subdeacon*. 6 *Deacon*, yr offeiriad neu'r henuriad. 8 Rhingyll. 9 *Proctor*. 10 Y *surrogate* a'r *commissary*. 11 *Register*. 12 *Chancellor*. 13 *Arch-deacon*. 14 Esgob. 15 *Quirister*. 16 *Choral Vicar*. 17 *Prebendary*. 18 *Canon*. 19 Dëon. 20 Arch-esgob. 21 *Cardinal*. 22 Y Pâb. Pan wnaed y diwygiad yn Mrydain, bwriwyd heibio yr *exorcist*, yr *acolyth*, *y cardinal*, a'r Pâb.

Hyd yn hyn o blegid swyddogion eglwysig, yn enwedig yr amryw rywogaethau o esgobion: *bellach*, awn rhagom, i ddywedyd yn fwy

neillduol oblegid yr anghrist, yr hwn sydd, fel y dywed yr ysgrythur, "o weithrediad Satan." Ni a ddangosasom uchod, i'r cyfnewidiadau a wnaed yn y rheol a adawodd Crist, fod yn gynorthwy nid bychan i'r Pâb osod i fynu ei deyrnas. Fe fydd i ni yn y lle nesaf fyned yn mlaen i ddal sulw ar yr amryw gamau neu raddau, trwy ba rai y darfu i'r Pâb ddyfod i fod yn un o'r hereticiaid mwyaf, ac yn wrthwynebwr penaf i *interest* a theyrnas ein Harglwydd Iesu Grist. Y modd y daeth esgob Rhufain, neu'r Pâb, i fod yn gyfryw heretic anghenfilaidd ydoedd fel hyn:—

Y'mhen ychydig amser ar ol ymadawiad yr apostolion, fe ddechreuwyd rhoddi mwy o barch i weinidogion rhai trefydd nac i weinidogion trefydd eraill. Fe roddid parch enwedigol i weinidog Jerusalem, o herwydd mai oddi yno y daeth yr efengyl allan i lewyrchu ar y cenhedloedd;—i weinidog Alexandria, (tref yn yr Aipht,) o herwydd mai yno y buasai yr efangylwr Marc tros dro yn gweini; ac i weinidog Ephesus, o herwydd fod yr apostol Ioan ryw amser yn olygwr ar yr eglwys hòno; hefyd rhoddid parch arbenig i weinidog yr eglwys oedd yn Rhufain, o achos mai Rhufain oedd y dref benaf, yr amser hwnw, yn yr holl fyd; yr ydys yn dywedyd hefyd, mai yno ca'dd yr apostol Pedr ei ddiweddiad trwy ferthyrdod: a gweinidogion Constantinopl a ga'ent flaenoriaeth o herwydd mai'r dref honno oedd trigfa'r emprwyr ar ol amser Constantin. Gweinidogion y trefydd hyn a grybwyllwyd, a elwid nid yn unig yn esgobion, ond hefyd yn arch-esgobion ac yn batriarchiaid.

Yn awr, y parch a roddid i'r rhai'n o ewyllys da, ac o ddefod ac arfer, darfu iddynt o'r diwedd ddisgwyl am dano a'i honni, megis pe buasai'n ddyledus iddynt; ac nid yn unig hyny, ond cymerasant arnynt hefyd reoli a llywodraethu gweinidogion ac eglwysi yn y gwledydd oddi amgylch:—eto y'mhellach, darfu i esgobion Rhufain, Ephesus, Constantinopl, &c. fyned i ymryson am y flaenoriaeth yn eu mysg eu hunain; ïe, aeth yn ymdaeru rhyngddynt o'r diwedd, pa un o honynt a ga'i fod yn ben ar yr holl eglwys weledig dros wyneb yr holl ddaear. Yr ymdaeriad yma a barhaodd yn hir; eithr trwy ei gyfrwysdra a'i ddichell, darfu i esgob Rhufain gario'r maes: felly darfu iddo ef osod ei hun i fynu i fod yn ben-esgob ar yr holl eglwys weledig, i fod yn Ficar Iesu Grist, i reoli yr eglwys, ïe a theyrnasoedd y byd hefyd dano ef. Ond y mae i ni ddal sulw, na ddarfu i esgobion Rhufain gyrhaeddyd i'r gradd hwn o ryfyg a balchder ar unwaith, neu mewn ychydig o amser. Fe fydd i ni, gan hyny, megis olrhain yr anghrist hwn o'i ddechreuad.

Yr amser cyntaf yr y'm yn darllen i esgobion Rhufain ymddyrchafu, ac ymddangos yn uchel yn yr eglwys, oedd y'nghylch y flwyddyn o oed Crist 195, yr hyn oedd o ddeutu can' mlynedd ar ol marwolaeth yr apostol Ioan. Yr hwn oedd weinidog neu esgob yn Rhufain y pryd hyny, a elwid Victor. Darfu i'r Victor yma gymeryd arno ysgymuno holl eglwysi Asia megis hereticiaid; a'r holl achos oedd am nad oeddent yn cadw gwyliau'r Pasg wrth ei *fodd ef.* Mae'n wir na wnaed yno fawr o

gyfrif o'i ysgymundod ef; eto hyn sydd yn dangos ffolineb a rhyfyg dyn. O hyn allan ni a gawn esgobion Rhufain yn dirywio yn ddirfawr, ac yn gŵyro bellach bellach oddiwrth ddidwyll reol yr efengyl. Felly, y'mhen ychydig amser ar ol hyn, yr y'm yn gweled y modd yr oeddent yn cymeryd arnynt reoli a llywodraethu eglwysi eraill, y'mhell ac yn agos, fel y gwelent hwy yn dda. Y rhai llygredig a fwrid allan o'r eglwysi mewn rhai manau, os byddai i'r rhai'n apelio at esgob Rhufain, fe fyddai iddo ef eu rhyddhau a'u hadferu i gymdeithas yr eglwys drachefn, trwy ei oruwch-awdurdod. Felly y gwnaeth Cornelius, yr hwn oedd esgob neu bâb yn Rhufain o ddeutu'r flwyddyn o oedran yr Arglwydd 250; a Stephan, yr hwn a fu esgob yno yn nghylch y flwyddyn 260.

Yn y flwyddyn o oed Crist 266, darfu i ddau wr sefyll i fynu am fod yn Bâb; enw'r naill oedd Damascus, a'r llall Ursisinus. Ni fynai un roddi lle i'r llall; ac felly ymr'odd pob un o'r ddau i wneuthur ei *interest* yn gryf y'mysg y bobl. Ar ryw ddiwrnod, y dyrfa a ymgynhullodd i lan a elwid St. Syfnyn, i ddewis un o'r ddau wr yma i fod yn weinidog neu'n Bâb; Eithr ar ol hir-ymddadleu y'nghylch y peth, ac heb allael cytuno, aeth o'r diwedd yn ddarfod, ac yn ymladd, hyd onid oedd llawr y llan yn llifo gan waed dynion: ac mewn un diwrnod y lladdwyd 137 o wŷr yn yr ymrafael yma. Y cyfryw ysbryd a hwn oedd yno y pryd hyny; pa mor waradwyddus oedd y fath beth i'r grefydd yr oedd y rhai'n yn broffesu, nid rhaid dywedyd.

Yn nesaf at Damascus (canys Damascus a enillodd yr esgobaeth, o herwydd i'w ochr a'i blaid ef fod yn drechaf) un Siricius a wnaed yn Bâb; yn nesaf at hwnw, Anastasius, ac ar ol hyny Innocentius, Sozimus, Bonifacius, &c. Y rhai hyn oll, a'r rhai a ganlynasant hyd y flwyddyn 600, a ledasant eu pwer a'u hawdurdod yn ddirfawr dros yr eglwysi yn y gwledydd oddi amgylch; a rhyfygu a wnaethant ordeinio ac apwyntio llawer o bethau yn yr eglwysi, nad yw'r ysgrythur yn sôn am danynt: ïe, yn wrthwyneb i'r ysgrythur; megis gwarafun i weinidogion briodi, gweddio ar seintiau, gweddio dros y meirw, a'r cyfryw bethau yn aneirif.

Yn y flwyddyn 603 o oed ein Harglwydd, darfu i Boniface III. gyhoeddi ei hun yn esgob cyffredinol, neu'n ben-esgob ar yr holl eglwys. Y Pâbau a fu o'i flaen ef yn Rhufain, oeddynt yn arfer meistrolaeth ac awdurdod mawr dros holl eglwysi Europe gan mwyaf; ond nid oeddynt eto yn gallael cyhoeddi eu hunain yn ben-esgobion, o herwydd bod esgobion Constantinopl ac Ephesus yn eu gwrthwynebu; y rhai hefyd oeddent yn sefyll am y teitl a'r anrhydedd yma o fod yn ben ar yr eglwys (megis y crybwyllwyd:) eithr yn awr darfu i esgobion Rhufain yn hollol gario'r goron; ac o hyny allan fe roddid iddynt enwau cableddus iawn; megis ficar Crist, arch-offeiriad, arglwydd Bâb, duw ar y ddaear, &c.

O amser y Boniface yma, hyd y flwyddyn 1000 o oed Crist, bu y'nghylch pymtheg a thriugain o Bâbau neu esgobion yn Rhufain. *Yn y cyfamser,* cafodd y gwledydd Crist'nog-

ol eu llygru eto'n fwy, trwy au-athrawiaeth, ceremoniau, a thraddodiadau dynol; megis ordeinio amryw ŵyliau er coffadwriaeth y seintiau; cadw esgyrn yr hen fonachod, y rhai a gyfrifid yn seintiau enwog, i'w haddoli; gosod i fynu ddelwau yn y llanoedd, a'u haddoli; cyflawni dyledswyddau crefyddol mewn iaith nad allai'r bobl ei deall; a llawer o'r cyfryw bethau. Yn yr amseroedd hyn, nid oedd ond peth cyffredin fod y Pâbau eu hunain nid yn unig yn feddwon ac yn loddestwyr, ond hefyd yn odinebwyr ac yn fwrddwyr; ïe yn ddewiniaid ac yn gonsurwyr: a thrwy eu consuriaeth y darfu i rai o honynt ddyfod i gael eu gwneuthur yn Bâbau.

Y'nghylch y blynyddoedd 1000, a 1100, yr ydys yn gadael i bŵer ac awdurdod y Pâb gyrhaeddyd i'r gradd uchaf: yn sicr, yr oedd ei bŵer ef yn awr yn fawr iawn ac yn ofnadwy; ac o ran ei gyfoeth a gogoniant ei lŷs, cyffelyb ydoedd i'r rhai mawrion y ddaear: ei goron o aneirif werth, ei wisgoedd o'r gwerthfawrocaf; ac am y rhenti a gesglid iddo trwy yr holl wledydd, nid oedd rhif na diben arnynt. Iddo ef y perthynai wneuthur esgobion ac archesgobion: y rhai hyn, ïe a phob person plwyf trwy holl Europe oedd raid iddynt dalu iddo ef ryw faint o rent mewn ffordd o gydnabyddiaeth megis pen yr eglwys: heblaw hyny, nis gellir cyfrif pa nifer o ffyrdd a dichellion oedd ef yn arfer tu ag at lenwi ei drysorau; hyd onid oedd y byd yn rhyfeddu pa fodd yr oedd yn gallu gwario yr holl olud a ddygid iddo. Coronau a theyrnasoedd emprwyr, brenhinoedd, a thywysogion, ar ei rodd ef yr oeddent;

a mwy o lawer yr ofnai y rhai'n y Pâb nag yr ofnent y naill y llall: canys os byddai i neb rhyw frenin neu emprwr ei anfoddloni ef, fe fyddai iddo yn ebrwydd ei ysgymuno; a'r brenin a ysgymunid gan y Pâb, yn y man a fforffetiai neu a gollai ei hawl i'w goron; ac y mae'n gyfreithlon, yn ol y grefydd babaidd, i'r neb a fyno ei ladd, a chymeryd meddiant o'i deyrnas a'i goron. Arfer y Pâb yw gwahardd deiliaid y brenin a ysgymuno efe na roddont ddim ufudd-dod iddo y'mhellach; ïe, bygwth eu hysgymuno hwythau oni bydd iddynt ei fwrw ymaith: ac hefyd anog brenhinoedd eraill i ryfela ag ef, a chymeryd ei deyrnas yn ysglyfaeth rhyngddynt. Fel hyn y gwnai y Pab i'r penaethiaid mwyaf blygu: a hwy a lenwid â dychryn, cyn gynted ag y byddai iddo ef daranu ei fygythion.

O'r flwyddyn 1000 hyd y flwyddyn 1500 o oed Crist, o ddeutu pedwar ugain o Bâbau a eisteddasant yn y gadair offeiriadol yn Rhufain. O fewn i'r yspaid hwn o amser, cyfododd math o sectau neu rywogaethau newyddion o offeiriaid pabaidd; sef y Dominiciaid a'r Ffrancisiaid; y rhai hyn a elwir *ffreiers*, hyny yw brodyr; ac yn ddiamau y maent megis brodyr yn cytuno i gynal y grefydd Rufeinaidd; a gellir dywedyd, mai y rhai hyn yn nghyd a'r Jesuitiaid, math arall o offeiriaid pabaidd, yw'r atteg benaf sydd yn dal i fynu deyrnas y Pab. O ran eu rhifedi, yr oeddent, ac y maent eto yn aneirif, yn ymdaenu dros yr holl wledydd. Y dysgedig o'r grefydd Brotestanaidd ydynt yn barnu mai y rhyw hyn *o ddynion* sydd i ni ddeall wrth y locustiaid

yn Dat. 9. 3, 11. Fe ddywed haneswyr fod y pryfaid hyny sef y locustiaid, mewn rhai gwledydd, yn ehedeg yn gyfryw fyddinoedd mawrion, hyd onid ydynt yn tywyllu goleuni'r haul: a sicr yw fod yr offeiriaid pabaidd yn cadw'r bobl mewn tywyllwch ysprydol, trwy gloi i fynu yr ysgrythur mewn iaith ddieithr; a thrwy eu coeg seremoniau a'u haneirif draddodiadau dynol.

Tost ac echryslon ydoedd stat a chyflwr yr holl wledydd Crist'nogol yn yr amseroedd hyn. Yn lle'r Bibl sanctaidd, cyfreithiau'r Pab a osodid o flaen dynion, y rhai oeddent mewn llawer o bethau'n gwrthwynebu gorchymynion Duw. Yn lle symlrwydd yr efengyl, llanwyd y byd â defodau cnawdol, ac ordinhadau dynol: gosodid i fynu fwy o weddiau at y forwyn Fair nac at Dduw, Arglwydd nef a daear. Byddid yn fwy manwl i gadw gwyliau o apwyntiad dynion nac i sancteiddio'r Sabboth. Lle mae'r efengyl yn dysgu i ni nesau at y Tad trwy yr unig gyfryngwr sydd rhwng Duw a dyn, sef yr Arglwydd Iesu Grist, y mae gan y pabyddion filoedd o gyfryngwyr: canys gweddio a wnant ar y seintiau, ar iddynt hwy eiriol trostynt. Y seintiau yma, hen fonachod oeddent gan mwyaf, y rhai y mae historiau pabaidd yn dywedyd eu bod yn wŷr hynod o ran eu duwioldeb a'u sancteiddrwydd gynt. Y mae (yn yr holl wledydd pabaidd) ddelwau neu luniau y monachod, wedi eu gwneuthur o goed neu faen, yn eu tai ac yn y llanoedd, y rhai hefyd a addolant. Fel hyn y darfu i'r bobl, yn gyffredinol, gymeryd eu hudo a'u tywys gan athrawiaethau dinystriol y Pab a'i

offeiriaid: canys "am na dderbyniasant gariad y gwirionedd fel y byddent gadwedig, danfonodd Duw iddynt amryfusedd cadarn fel y credent gelwydd." 2 Thes. 2. 10.

Fe ofynir, fe allai, Pa le yr oedd pobl Dduw, neu wir ganlynwyr Iesu Grist y pryd hwnw? canys nis gall lai na'u bod yn rhyw le ar y ddaear y'mhob oes. Yr amseroedd hyny, pan oedd Pabyddiaeth wedi goresgyn yr holl wledydd, oeddent gyffelyb i'r amser yr oedd Ahab yn frenin ar Israel gynt. Yr Israeliaid y pryd hyny oeddent wedi troi yn eulunaddolgar mor gyffredinol, 1 Bren. 19. 14, 18. hyd oni thebygodd Elias nad oedd ond ef ei hun yn unig yn glynu wrth addoliad y gwir Dduw; eto 'roedd saith mil, "y rhai ni phlygasant eu gliniau i Baal," Rhuf. 11. 4. Felly yn yr amseroedd yma, pan oedd rheolaeth y Pâb helaethaf, yr oedd rhai dynion yn ymgadw yn ddihalog oddi wrth eulunaddoliaeth a ffieidd-dra y grefydd Babaidd: eithr yr oedd y rhai'n, gan mwyaf, yn ddirgeledig; canys nid oedd ond ymbell un o honynt yn ymddangos yn gyhoeddus i geryddu ac i ddwyn tystiolaeth yn erbyn yr aflendid a'r ffieidd-dra oeddent yn ei weled.

Fel hyn y bu eglwys Dduw megis ar gil, a than gwmwl, dros lawer o oesoedd, yn ol yr hyn a rag-ddangoswyd i'r apostol Ioan, Dat. 12. 1, 7. Eithr yr amser a ddaeth, o'r diwedd, pan welodd Duw yn dda ddechreu gwaredu y gwledydd Crist'nogol o'r caethiwed ysprydol yr oedd y Pâb yn eu cadw ynddo. Yr oeddent yn awr wedi goddef yr iau yma dros lawer o flynyddoedd; ond bellach, darfu i rai wedi eu cynhyrfu gan Dduw, ymosod yn wrol i'w daflu

ymaith, trwy wneuthur diwygiad yn ol rheol gair Duw, gan ymwrthod a chyfreithiau yr anghrist, a defodau ac athrawiaethau cableddus eglwys Rhufain. Fe fydd i ni, gan hyny, yn y lle nesaf roddi cyfrif byr neu hanes o'r diwygiad yma; oblegid y modd y dechreuwyd ac y dygwyd y'mlaen hyd yr amser presenol.

Yn y flwyddyn 1517, Martin Luther a ddechreuodd ddangos i'r byd yn gyhoeddus, mai'r Pâb oedd yr anghrist mawr a ragddywedasid am dano gan yr apostolion gynt; ac am eglwys Rufain, mai synagog Satan ydoedd: gan lefain â llef uchel, "Os addola neb y bwystfil a'i ddelw ef, caiff yfed o win digofaint Duw." Dat. 14. 9, 10. Y Luther yma, gwr o dref Wittemberg, yn Germany, ydoedd; ac o ran ei alwad, yr oedd ef ei hun yn offeiriad Pabaidd ar y cyntaf; eithr yr oedd ef yn gyfryw un ag oedd yn rhoddi mwy o barch i'r ysgrythur, ac yn gwneuthur llai o gyfrif o draddodiadau dynol, nac eraill o'r Pabyddion yn gyffredin. Y modd yr ymddarfyddodd Luther â'r Pâb, a'r achlysur a gymerodd i ymadael â chymdeithas eglwys Rhufain, oedd fel y canlyn:—

Yn y flwyddyn a grybwyllwyd, sef 1517, yr oedd Leo. X. yn Bâb yn Rhufain:—y Leo yma oedd yn gyfryw loddestwr, nad oedd yr holl renti oeddid yn gasglu iddo, yn ddigonol i gynal ei rwysg a'i rodres; am hyny efe a gymerodd mewn llaw y ffordd fwyaf effeithiol i gludo yr arian ynghyd; sef trwy wasgaru ei bardynau (*indulgences*) tros yr holl wledydd. Peth hysbys ydyw, fod y Pâb yn cymeryd arno faddeu pechod, nid yn unig i'r rhai byw, ond hefyd i'r meirw, trwy roddi gollyngdod

iddynt o ryw stat o boenau y mae'r Pabyddion yn ei alw Purdan. Yr *indulgences* yma oeddent ysgrifenadau bychain, ac enw, stamp, neu sel y Pab wrthynt, yn cynwys gollyngdod a maddeuant o'u holl bechodau i bawb a'u prynent: felly y Leo hwn a huriodd ei weision, y *ffreiers*, i fyned i wasgaru a gwerthu yr *indulgences* yma trwy yr holl deyrnasoedd.

Martin Luther, pan glywodd y fath ganmoliaeth oedd y *ffreiers*, yn eu pregethau, yn ei roddi i'r farsiandiaeth yma; a phan welodd hefyd y modd yr oedd bagad o honynt yn afradu, mewn cyfeddach ac aflendid, yr arian oeddent yn dderbyn am danynt; (canys pob graddau o ddynion a ddeuent i brynu; ïe, y gwerinos tlodion a ymadawent â pheth o'r ychydig oedd ganddynt i bwrcasu *indulgences*, yn gymaint a bod yr offeiriaid yn peri iddynt gredu y caent faddeuant o'u holl bechodau:) pan welodd y pethau hyn, gan dosturio fod eneidiau gwerthfawr trwy'r cyfryw fradwriaeth a thwyll yn cael eu tywys i ddinystr, nis gallai ymatal; am hyny fe ddechreuodd ddwyn tystiolaeth yn eu herbyn; a chymerodd fawr boen trwy bregethu a 'sgrifenu, i rybuddio'r bobl ar iddynt ochelyd rhag athrawiaeth ddinystrol y *ffreiers*, a'r *indulgences*.

Erbyn hyn, megis nas gallai ddisgwyl llai, yr oedd iddo elynion a gwrthwynebwyr yn aneirif. Canys yr holl offeiriaid Pabaidd a ymosodasant i wrthwynebu ei athrawiaeth ef; ïe, i'w ddifetha ef ei hun hefyd: eithr Doctor Luther, yn gymaint a'i fod a'r gwirionedd ar ei ochr, yn fawr ei ddysg, ac yn llawn o zêl, ond yn benaf o herwydd bod Duw yn ei gynhyrfu

ac yn ei gynorthwyo, a ymrodd i sefyll i fynu dros y gwirionedd, yn eu herbyn hwynt oll: ac felly o hyny allan, yr aeth yn ddihareb, "un Luther yn erbyn yr holl fyd."

Y'nghylch y pryd hyn darfu Luther lwyr ymosod i chwilio ac astudio pynciau y grefydd Babaidd; a thrwy eu manwl chwilio wrth reol yr ysgrythur, a'u cymharu wrth ddisgyblaeth yr eglwys yn yr oesoedd nesaf at yr apostolion, fe ddeallodd i eglwys Rhufain ddirywio yn ddirfawr, a myned o honi yn butain erchyll; ac nad oedd yn briod Iesu Grist, megis y mae hi yn proffesu ei bod; ac am y Pab ei hun, yr hwn sydd yn cymeryd arno fod yn ben-bugail yr eglwys neu ficcer Crist ar y ddaear, mai'r gwrthwynebwr penaf i deyrnas Crist ydoedd. Amryw foddion a arferwyd i'w ddistewi ef:—ceisiwyd ei berswadio trwy addfwynder a geiriau teg; cynygiwyd iddo olud, a lleoedd neu swyddau uchel yn yr eglwys, y rhai a ddygent iddo elw, anrhydedd, a pharch; eithr yr un gyfrif a wnai Luther o'r pethau hyn ac a wnai Moses gynt o drysorau'r Aipht: am hyny darfu i'r Pab ddeilio ag ef mewn dull arall, sef trwy ei fygwth, a'i ymlid, ie ei ysgymuno, gan ei gyhoeddi yn heretic, a gorchymyn i bawb, dan boen ysgymundod, na byddai iddynt gadw cymdeithas ag ef, ond ei erlid a'i ddal tu ag at ei gospi, trwy ei fwrw i'r tân, (canys felly y mae egwyddor ac arfer y Pabyddion, sef llosgi yr hereticiaid:) eithr er mor lluosog oedd ei elynion, ac er maint eu llid a'u cynddaredd tu ag ato, Duw a fu yn ymgeleddwr ac yn geidwad iddo: felly, wedi gorphen ei yrfa, bu farw mewn heddwch. O herwydd pa

ham, yr ydys yn dal sulw ar dri pheth hynod mewn perthynas i Luther, 1 Iddo ef, oedd ŵr o isel radd, lyfasu sefyll i fynu yn erbyn y Pab, yr hyn beth ni feiddiodd un penaeth, emprwr, neu frenin, o'i flaen ei gynyg. 2 Iddo allael llwyddo yn ei erbyn a'i orthrechu. 3 Iddo, yn y diwedd, farw ar ei wely mewn heddwch, er maint o gynllwynion a dichellion a arferwyd i'w ddal a'i ddifetha. Ei oedran pan fu farw oedd driugain a thair; dros yspaid naw mlynedd ar hugain y bu yn ymdrechu â'r Pab y'ngwaith y diwygiad.

Y'nghylch yr un amser ag y dechreuodd Luther ei dystiolaeth yn erbyn eglwys Rhufain, neu ychydig ar ol hyny, cyfododd Duw rai eraill, mewn amryw wledydd, i fod megis yn gynorthwywyr ac yn gydweithwyr iddo; sef Philip Melancton, Martin Bucer, Peter Martyr, Ulric Zwinglius, Ecolampadius, John Calvin, Theodor Beza, a'r cyfryw. A thrwy yr offerynau yma y gwnaed y fath rwyg yn nheyrnas y Pâb, nas adgyweirir, yr y'm yn gobeithio, mo honi fyth: canys, yr amser hwnw, darfu i lawer o wledydd ymwrthod â'r grefydd Babaidd; sef, Geneva, amryw ardaloedd yn Ffrainc ac Italy, Switzerland, rhan fawr o Germany, Prussia, Sweden, Denmarc, a Brydain. Y rhai hyn ydynt megis blaenffrwyth y diwygiad mawr sydd ar ddyfod, pan fyddo i'r Arglwydd lwyr "ddifetha y dyn pechod âg yspryd ei enau, a'i ddileu â disgleirdeb ei ddyfodiad, 2 Thes. 2 8. dyledswydd pawb ydynt ewyllyswyr da i Seion, yw dyfal osod i fynu eu herfyniau at Dduw, a'r iddo frysio *cwymp Babilon* Rufeinaidd, a rhoddi gollyng-

dod i'r eneidiau y mae hi'n eu dal mewn tywyllwch, i ddyfod o honynt "i wybodaeth y gwirionedd fel y byddont gadwedig."

Wedi dangos o honom y modd y dechreuodd Luther y diwygiad yn Germany a'r teyrnasoedd oddi amgylch, deuwn yn nesaf, yn fwy neillduol, i draethu am y diwygiad a wnaed yn ein gwlad ni ein hunain, sef Brydain: hon yw un o'r ynysoedd pell hyny y darfu i brophwydi Israel gynt rag-ddywedyd y caent fod yn gyfranogion o fendithion yr efengyl a rhagorfreintiau pobl Dduw, Esa. 66, 19. 60, 9. a 51, 5. ac yn ddiau, y mae yr ynys hon dan rwymedigaeth arbenig i uno gyd ag eraill o'r cenhedloedd i ogoneddu Duw am ei drugaredd, Rhuf. 15. 9. Canys wedi caffael o'r apostolion orchymyn i gyhoeddi newyddion da yr efengyl i'r holl genhedloedd, yn ebrwydd darfu i'w swn hwy gyraedd yr hen Frutaniaid.

Nid ydyw amlwg pwy oedd y gweinidogion a blanasant y grefydd Grist'nogol yn yr ynys yma gyntaf; eithr y mae genym dystiolaeth Gildas Cambrensis i'r efengyl gael ei phregethu yn y wlad hon ynghylch y flwyddyn o oed Crist 61, (sef 28 o flynyddoedd ar ol ei esgyniad ef,) pan oedd Paul, Petr, ac Ioan, ac fe allai eraill o'r apostolion, eto yn fyw.

Wedi i'r efengyl ddechreu cael ei phregethu yma, yr amser a grybwyllwyd, bu dros rai oesoedd yn dra llwyddiannus i droi ac i ddiwygio ein hynafiaid, y rhai a fuasent hyd yn hyn yn eulunaddolwyr, megis y cenhedloedd eraill oddi amgylch: felly y darfu i'r holl drigolion o fewn yr ynys ddyfod i wneuthur proffesiad gyhoeddus o'r grefydd Grist'nogol:

eithr ynghylch y flwyddyn o oed ein Harglwydd 400, yr y'm yn darllen iddynt oeri yn eu zêl, a myned yn llygredig iawn; hyd onid aeth eu stât a'u cyflwr yn gyffelyb i'r hyn a ddywedir o blegid yr Israeliaid yn amser y prophwyd Esay, "Y pen oll sydd glwyfus, a'r holl galon yn llesg: o wadn y troed hyd y pen, nid oes dim cyfan ynddo!" Esa. 1. 5, 6. Hyny yw, yr oedd y brenin a'r deiliaid, bonheddig a gwreng, uchel ac isel, wedi ymadael â Duw, a myned yn llygredig yn eu holl ffyrdd: ac megis y darfu i Dduw gospi yr Israeliaid am eu hannuwioldeb a'u mawrion anwireddau, trwy roddi eu tir yn anrhaith i ddieithriaid, Esa. 1. 7. ac o'r diwedd trwy eu symud allan o'u gwlad; felly y ceryddodd efe yr hen Frutaniaid, trwy godi y Pictiaid, pobl wylltion o'r gogledd, yn eu herbyn; a'r Scotiaid, pobl o'r Werddon, y rhai hefyd oeddent farbaraidd yr amser hwnw; ac ar ol hyny trwy y Saeson, y rhai o'r diwedd a'u gwthiasant o'u gwlad, ac a breswyliasant yn eu lle.

Yr achlysur a gafodd y Saeson i ddyfod i Frydain gyntaf ydoedd fel hyn, Y'nghylch y flwyddyn o oed Crist 445, pan oedd y Brutaniaid wedi bod dros amryw flynyddoedd mewn dirfawr ofid a thrallod o herwydd yr yspail a'r galanastra oedd y Pictiaid a'r Scotiaid yn wneuthur yn eu mysg, darfu iddynt anfon at y Saeson i ddeisyf eu help a'u cynorthwy yn erbyn y gelynion yma. Pobl baganaidd, eulunaddolgar oedd y Saeson y pryd hyny, yn cyfaneddu y rhan honno o Germany a elwir yn awr Saxony.

Ar y gwahoddiad yma, y Saeson a ddaethant

trosodd i Frydain, a buant gynorthwyol i'r Brutaniaid i orchfygu ac i yru allan eu hen elynion, sef y Pictiaid a'r Scotiaid; eithr ar ol y gymwynas, hwynt hwy eu hunain a brifiasant yn elynion oedd waeth: canys wedi dyfod o honynt i'r wlad, a gweled pa mor ffrwythlon a chyfleus ydoedd, darfu iddynt ymroi i gymmeryd meddiant o honi, a phreswylio ynddi, yn lle dychwelyd yn ol drachefn i'w gwlad eu hunain. Eu hesgus oedd, na dderbyniasant gyflawn wobr a thaledigaeth am y cynorthwy a roddasant. O'r diwedd darfu iddynt gael gan y brenin oedd yn Mrydain y pryd hwnw, enw yr hwn oedd Gwrtheyrn, roddi iddynt gwr o'r tir yn breswylfa i gyfaneddu ynddo: y rhan a roddwyd iddynt yw y sîr a elwir Kent: eithr y Saeson nid oeddent eto ddigonol; canys yn lle byw yn llonydd ac yn heddychlon ar y rhandir a gyfranwyd iddynt, hwy a anfonasant yn ol i'w gwlad eu hunain, sef Saxony, i wahodd eraill o'u cyd-wladwyr i ddyfod i ranu yr yspail. Yn ebrwydd daeth trosodd i Frydain ychwaneg o'r Saeson, ac heblaw y rhai'n daeth dwy genedl eraill o gymydogion iddynt, y rhai a elwid Angli a Juthi; ac oddiwrth yr Angli hyny y mae'r Saeson yn galw eu hunain yn awr, *Anglish* neu *English.* Hyn a fu o ddeutu y flwyddyn 455.

Felly y tair cenedl a grybwyllwyd a ddaethant yma, medd Bede, yn dorfeydd mawrion, gan adael eu gwlad eu hunain yr hon a fu yn anial dros rai canoedd o flynyddoedd wedi, ac a yrasant y Brutaniaid o'r rhan oreu o'r ynys, sef Lloegr, i'r parthau mwyaf anghyfanedd a mynyddig o honi, sef Cymru, lle trigiasant yn neill-

tuol a digymysg, o'r pryd hwnw hyd yr awr hon. Nicholloddy Cymry mo'u gwlad chwaith heb hir ymdrech â'u gelynion; canys darfu iddynt wrthwynebu y Saeson dros amryw flynyddoedd, ïe weithiau eu gorchfygu a'u herlid, sef yn amser teyrnasiad y brenin Gwortimer, ac Emrys, a'r enwog Arthur. Y brenin Arthur a deyrnasoedd y'nghylch y flwyddyn o oed ein Harglwydd 530. Yr hen hanesion ofer a luniodd y monachod oblegid y gwr hwn, a barai i un dybied nad yw'r cwbl a ddywedir am dano ddim amgen na hen chwedl; eithr yn ddiau yr oedd, megis y mae haneswyr cywrain a geirwir yn mynegi, yn wr nerthol a grymus, ac yn rhyfelwr hynod; a bu o fewn ychydig i yru'r Saeson allan o'r wlad: ond ar ol ei amser ef, darfu iddynt ymgadarnhau drachefn, a gorchfygu yr hen drigolion, y Brutaniaid, a pherchenogi y rhan fwyaf o'u tir a'i ddosparthu rhyngddynt eu hunain; canys yr oedd y peth, mae'n debygol, oddiwrth Dduw, yr hwn a fynai gospi pobl anniolchgar, anffrwythlon, a gwrthnysig. Y neb a ddarlleno hanes eu drwg fucheddau o bob galwad a gradd, ni ryfedda i'r cyfryw ddialedd ddigwydd iddynt. Gildas Britannicus, gŵr dysgedig hynod, yr hwn oedd ei hun yn Gymro, ac yn byw yn yr amseroedd hyny, sydd yn dywedyd fel hyn, Cybydd-dra a gorthrymder y tywysogion, anghyfiawnder a chamwedd y barnwyr a'r swyddogion gwledig, esgeulusdra a diogi y gweinidogion, anghymmedrolder a drwg fuchedd y cyffredin bobl a barodd i'r Brutaniaid golli eu gwlad.

Y Saeson, megis y crybwyllwyd, oeddynt yn eulun-addolwyr; eithr y Cymry, o herwydd

y gelyniaeth oedd rhyngddynt, nid oeddynt yn ewyllysio cyfranu iddynt wybodaeth o'r gwir Dduw: felly y parhaodd y Saeson yn eu heulun-addoliaeth hyd y'nghylch y flwyddyn o oed Crist 600, pan yr anfonodd y Pâb Gregory rai o'i offeiriaid i Loegr i bregethu iddynt; a hwy a drowyd yr amser hwnw i'r grefydd Babaidd, wrth yr hon y glynasant, gan mwyaf, hyd deyrnasiad Harri VIII; sef, hyd y flwyddyn 1533.

Y Cymry, wedi cael eu gyrru gan y Saeson i gongl yr ynys lle maent yn awr, a osodasant i fynu lywodraeth wledig yn eu mysg eu hunain, ac a fuant fyw lawer o oesoedd dan eu tywysogion a'u llywodraethwyr, sef hyd y flwyddyn 1280, pryd y darfu i Edward I, orchfygu a llwyr ddarostwng y Cymry; ac o hyny allan bu Cymru a Lloegr yn un deyrnas, dan un penaeth.

Y Saeson, megis y dywedasom uchod, a drowyd i'r grefydd Babaidd, trwy weinidogaeth cenhadon y Pab; am hyny yr oedd Lloegr dan lywodraeth y Pab mewn materion eglwysig, a than rwymedigaeth i dderbyn pob math o seremoniau a appwyntid o amser i amser gan eglwys Rhufain: eithr y Cymry, y rhai oeddent wedi derbyn yr efengyl uwchlaw pum' cant o flynyddoedd o'r blaen, a lynasant, oddieithr mewn rhai pethau, wrth y ffurf o athrawiaeth, ac wrth y ddisgyblaeth eglwysig a dderbyniasant ar y cyntaf, yn amser yr apostolion; felly eu hathrawiaeth a'u hegwyddorion oeddent bur ac iachus, er bod, yn gyffredin, eu harferion a'u hymarweddiad yn ddrwg. Y Pâb a amcanodd yr amser hwnw

dynu y Cymry hefyd dan ei iau, sef peri iddynt ddyfod dan ei reolaeth ef, a'i arddel ef yn ben-esgob, megis yr oedd y rhan fwyaf; ond y Cymry a'i llwyr wrthodasant; ac a gadwasant eu rhydd-did. Am y grefydd a dderbyniasai y Saeson o Rufain, ni chyfrifai y Cymry mo honi fawr well na'r eulun-addoliaeth oedd ganddynt o'r blaen, fel y dywed Bede. Wrth hyn y gallwn ddeall pa wahaniaeth sydd rhwng y grefydd Grist'nogaidd, pan dderbynier hi trwy weinidogaeth yr offeiriaid Pabaidd, a phan ei derbynier yn ei symlrwydd; megis y traddodwyd gan Grist a'i apostolion.

Peth dymunol a chanmoladwy iawn fuasai i'r Cymry barhau ac aros yn wastadol yn y pethau a ddysgasent, a dal yn wrol yr athrawiaeth iachus a dderbyniasent ar y cyntaf: eithr trwy ddichellion a chyfrwysdra y Pâb; ac o herwydd y tueddrwydd sydd y'nghalon dyn i ymwrthod â phurdeb crefydd a grym duwioldeb, ac i orphwys yn y ffurf oddi allan; digwyddodd iddynt hwythau hefyd ar ol hir amser, uno gyd'u cymydogion, y Saeson, i fod yn aelodau o eglwys Rufain; ac erbyn hyn yr oedd yr *ecclipse* o dywyllwch ysprydol wedi myned dros yr holl ynys.

Pa amser y darfu'r Cymry ymddarostwng i'r Pâb, a derbyn y grefydd Babaidd, ni's gallwn ddywedyd yn sicr; eithr mae'n debygol, mai y'nghylch y flwyddyn o oed Crist 1000; canys yr ydym yn darllen i eglwysi Cymru, yn y flwyddyn 1115, gytuno i fod dan olygiad archesgob Canterbury: felly o'r diwedd y Cymry hwythau a ymfoddlonasant i fod yn Babyddion. *Fe fydd i ni,* gan hyny, yn y lle nesaf, roddi

byr hanes o'u stât ar ol derbyn o honynt y grefydd newydd hon.

Yn awr, yr oedd rhaid iddynt arddel y Pab yn ben-dysgawdwr ac yn olygwr, a derbyn pob pwngc o athrawiaeth a ddysgai ef, heb ddim amheuaeth; Ie, er bod y peth a ddywed yn ymddangos yn wrthwynebol i'r ysgrythur lân. Canys mae y Pâb yn chwenych peri i'r byd gredu ei fod ef yn *ddoctor infallibilis*, hyny yw, y cyfryw ddysgawdwr na all gamgymeryd mewn materion ysprydol. Y rhagorfraint hwn a gafodd, medd efe, o herwydd i Grist ei wneuthur ef yn ficcer tano ef ar y ddaear, i olygu dros yr holl eglwys weledig: eithr pa fath athro neu ddysgawdwr ydyw a ymddengys wrth y pethau a ganlyn.

Y mae y Pâb yn dysgu ac yn haeru, nad oes iachawdwriaeth i neb a fo allan o gymdeithas eglwys Rhufain; yn gorchymyn i'w ddilynwyr ladd a difetha y sawl na ymfoddlonant ei gymeryd ef yn ben-bugail, ac yn dywedyd y bydd iddynt, trwy hyny, haeddu bywyd tragywyddol. Dywedyd y mae hefyd, mai mamaeth duwioldeb yw anwybodaeth; ac am hyny y mae efe yn gwarafun i'r bobl gyffredin gael yr ysgrythur yn eu iaith eu hunain. Nid yw gwybodaeth, medd ef, yn angenrheidiol i weithredu ffydd; eithr fod yn ddigonol i iechydwriaeth, os bydd i un gredu fel y mae'r eglwys yn credu; er na byddo ganddo wybodaeth neillduol 'chwaith o'r pethau y mae yr eglwys yn gredu. Hefyd, fod gweithredoedd da yn haeddu bywyd tragywyddol; fod ganddo ef gyflawn bŵer i faddeu pechod; fod ei bŵer â'i awdurdod ef yn cyr-

aedd nid yn unig tros yr holl eglwys weledig; ond hefyd dros holl dywysogion a brenhinoedd y ddaear, a bod holl wledydd a theyrnasoedd y byd ar ei rodd ef. Y'mhellach, dywedyd y mae fod y bara a'r gwin, yn y sacrament o swper yr Arglwydd, yn cael eu troi yn wir gorph a gwaed Crist:—perffaith gig a gwaed, medd efe, ydynt, er eu bod i'r olwg a'r teimlad a'r archwaeth, yn ymddangos yn fara ac yn win. Drachefn, wedi i'r bara a'r gwin yma gael eu troi, yn ol athrawiaeth y Pab, yn gorph a gwaed Crist, yr offeiriaid Pabaidd ydynt yn gwneuthur offrwm o honynt, yn y modd hwn; hwy a'u derchafant i fynu rhwng eu breichiau, megis yr oedd yr offeiriaid dan y gyfraith gynt yn gwneuthur â'r offrwm cyhwfan; ac ar hyn syrth yr holl gynulleidfa ar eu gliniau i'w addoli: a'r offrwm hwn, medd y Pâb, sydd yn llesiol nid yn unig i'r rhai byw ond hefyd yn iawn dros bechodau y rhai meirw. Yr offrwm yma a eilw y Pabyddion, Offrwm y *Mass* dros y byw a'r meirw. Yn eglwys Rufain, nid yw gyfreithlon i neb ond i'r offeiriad yn unig gymeryd o'r bara a'r gwin yn y sacrament; eithr am y bobl gyffredin, ni chant hwy ddim ond y bara yn unig, y'ngwrthwyneb i esampl a gorchymyn Crist a'i apostolion. Y Pâb sydd hefyd yn dysgu i'w ganlynwyr wneuthur delwau neu luniau i arwyddocau ac i arddangos y tri Pherson yn y Drindod; a delwau er coffadwriaeth y seintiau a'r hen fonachod, a'u haddoli. Yr ysgrythur, medd efe, sydd anmherffaith ac annigonol i hyfforddi ac i gyfarwyddo dyn yn materion ei enaid; ac am *hyny y mae,* heblaw yr ysgrythur ryw hen

draddodiadau yn eglwys Rufain, y rhai, medd y Pâb, sydd raid eu dysgu a'u cadw gan bawb a fynant fod yn gadwedig: felly, wrth yr ychydig bethau hyn, canys ni chrybwyllais ond rhai o'r aneirif bethau y'mha rai mae y Pâb yn gwrthwynebu athrawiaeth Crist, yr hwn y mae efe yn cymeryd arno fod yn ficcer iddo, nid yw anhawdd i ni ddeall gresynol gyflwr ein henafiaid, pan roddasant eu hunain dan dywysiad a golygiad y cyfryw fugail.

Am y grefydd a'r dull o addoliad oedd ganddynt yn yr amser hwnw, tasg rhy fawr yw rhoddi cyflawn hanes o honynt. Gellir mewn rhan ddeall, pa fath oeddynt, oddiwrth yr hyn a ddywedasom eisoes am eu pen-esgob a'u hathro; eto, fe allai na fydd anghymwys i ni roddi ychydig gyfrif yn fwy neillduol o'u plegid.

Yn gyntaf, gan hyny, darfu i'r Cymry, pan dderbyniasant y grefydd Babaidd, ymwrthod â'r ysgrythur; canys yr oedd y llyfr sanctaidd hwn iddynt hwy megis llythyr seliedig. Yr athrawiaeth bur a sanctaidd, "sydd yn troi yr enaid, yn gwneuthur y gwirion yn ddoeth, yn goleuo y llygaid, yn llawenhau y galon," Sal. 19. 7, 8. ni chaent mwyach mewn iaith a allent ddeall: cloawdd y Pâb yr ysgrythyrau rhag y cyffredin bobl yn yr iaith Lading. Yr oedd megis yn fraint i'r Hebraeg gynt i'r Ysbryd Glân ei dewis hi o fysg holl ieithoedd y byd i ddatguddio ewyllys Duw ynddi trwy'r prophwydi. Am hyny, rhai o'r dysgedigion a'i galwant yn iaith sanctaidd. Yr un fraint ac anrhydedd a rydd y Pâb yn awr i'r Llading.

Y Bibl a gyfieithwyd i'r iaith Lading amryw

o weithiau, a chan amryw ddynion; eithr mae un cyfieithiad yr hwn y mae y Pâb yn ei berchi uwch law y lleill oll. Y Pabyddion a alwant hwn, Y cyfieithiad Llading cyffredin: ac ni arddel y Pab a'i ganlynwyr un cyfieithiad arall yn air Duw, ond cyn belled ag y byddo yn cytuno â'r cyfieithiad hwn. Y mae mewn amryw fanau, yn ffafro eu coelgrefydd hwy, megis yn y lleoedd a ganlyn, Eph. 5. 32. Yn yr iaith Roeg, yn yr hon yr ysgrifenodd yr apostol, trwy gynhyrfiad a chyfarwyddyd yr Ysbryd Glân, mae fel hyn, "Y dirgelwch hwn sydd fawr;" yn y cyfieithiad Llading sydd gan y Pabyddion, mae fel hyn, 'Y sacrament hwn sydd fawr:' ac fel hyn y profant fod priodas yn sacrament; canys y mae gan y Pabyddion saith sacrament, ac un o honynt yw priodas. Drachefn, Heb 13. 16. "Ond gwneuthur daioni, a chyfranu, nac anghofiwch; canys â chyfryw ebyrth y rhyngir bodd Duw." (neu, y cyfryw ebyrth ydynt gymeradwy gan Dduw,) felly y mae yn y Groeg. Eithr yn y Bibl Llading sydd gan y Pabyddion, mae'r lle fel hyn; 'Canys y cyfryw ebyrth ydynt haeddiannol ger bron Duw.' Trwy hyn y ceisiant brofi, fod gweithredoedd da yn haeddu bywyd tragywyddol. Y'mhellach, 2 Pedr 1. 15, yn y iaith wreiddiol, sef y Groeg, mae fel hyn, "Mi a wnaf fy ngoreu hefyd ar allu o honoch bob amser, ar ol fy ymadawiad i, wneuthur coffa am y pethau hyn:" ond y Pabyddion yn eu Bibl Llading, a ddarllenant y lle fel hyn, 'Gwnaf fy ngoreu ar eich cael yn fy nghof ar ol fy ymadawiad;' ac oddi yma maent yn *tybied fod* ganddynt warrant ac anogaeth i

o ar Pedr, ac eraill o'r seintiau a fuant
Yn y iaith yr ysgrifenodd yr apostol;
Ieb. 11. 21 fel hyn, "Trwy ffydd, Jacob
arw a fendithiodd bob un o feibion Jos-
ac a addolodd a'i bwys ar ben ei ffon,"
ymgrymodd ar ben ei ffon: y Pabyddion
ant fel hyn, 'Ac a addolodd ben ei ffon:'
gwnant ddefnydd o'r testyn hwn, i brofi
a gyfreithlon addoli llun y groes, a'r
r brenau. Gallem goffau llawer ragor o
o'r ysgrythur, y rhai y mae y Pabydd-
i eu traws-wyro yn y cyfryw fodd a hyn
at gyfiawnhau a chynal eu coel-grefydd
lw-addoliaeth, eithr yr hyn a grybwyll-
wasanaetha i ddangos y modd y mae y
yn yn cam-arfer ac yn gŵyr-droi gair y
nedd, er mawr waradwydd i'w proffes,
yw llaweroedd o eneidiau.
debygid y gallai yr offeiriaid Pabaidd yn
der ganiatau i'r bobl gyffredin ddarllen
hiaith eu hunain y cyfryw Fibl a hwn,
maint a'i fod mor fanteisiol i'r grefydd
dd; canys y mae'n amlwg wrth y lleoedd
yd uchod, eu bod yn ei wneuthur yn
aethgar i gyfiawnhau ac i brofi'r arferion
ldus, eulun-addolgar, a gynhelir yn eu
ys hwy. Eto mae'n sicr ac yn dra hys-
fod dan orchudd y iaith Llading yn yr
vledydd Pabaidd, ac nad yw ddim llai
erygl bywyd i neb rhyw un gael ei ddal
ibl ganddo yn nhafod-iaith ei fam, neu
yffredin y wlad. Ac fel hyn y mae y
ios druain, y'mysg y Pabyddion, yn cael
lw yn y tywyllwch. Gair Crist, yr hwn
ai breswylio ynddynt yn helaeth y' mhob

doethineb, ni chaniateir iddynt wybod ond ychydig o hono: ie cwbl ddieithr ydynt i'r pethau sydd gynwysedig yn yr holl ysgrythur, oddieithr yr hyn y mae yr offeiriaid yn weled fod yn dda fynegi iddynt. Y peth y mae y rhai'n yn ei goffa, ac yn sefyll arno fynychaf tu ag at gadw y bobl mewn ufudd-dod, yw awdurdod y Pâb a'r eglwys, gan ddywedyd, Fel hyn ac fel hyn y mae ein harglwydd Bâb wedi ordeinio, neu, Y modd hyn y mae'r eglwys yn credu ac yn dysgu. Am y pethau mae'r eglwys yn eu dal, a'r pethau a orchymynir gan y Pâb, nid oes gwrth-ddywedyd mo honynt dan boen ysgymundod.

Y dysgawdwyr Pabaidd ydynt hefyd weithiau yn crybwyll ysgrythur; ond rho'nt iddi y cyfryw dro a cham-ddeongliad a fo wasanaethgar i ddercharfu awdurdod y Pâb, ac i gadarnhau *interest* eglwys Rufain. Felly, y dyfroedd sanctaidd hyfryd yma, y rhai yn y ffynon sy' bur ac iachusol, yn fuddiol ac yn llesol i gryfhau a chysuro yr enaid llesg a sychedig, ydynt, trwy gael eu cyfeirio trwy'r pibellau hyn, yn cael eu gwneuthur nid yn unig yn afrinweddol, ond yn niweidiol ac yn farwol.

Erbyn hyn, nid yw anhawdd i ni ddirnad, pa mor druenus a gresynol oedd cyflwr ein henafiaid, y Cymry, ar ol iddynt osod eu hunain dan olygiaeth esgob Rhufain. Eithr fe fydd i ni eto fyned rhagom i ddangos yn neillduol pa fath oedd eu defosiynau gwastadol a beunyddiol hwynt yn yr amseroedd hyny. Y peth cyntaf, gan hyny, a wnaent yn y boreu, ar ol codi o'u gwelyau, oedd tynu llun y groes ar

draws eu hwynebau; gan gredu y byddai y seremoni hon yn amddiffynfa iddynt rhag pob drwg-ddamwain trwy gorph y dydd. Ar ol hyn, fe allai y dywedid *pater noster*, hyny yw, Gweddi yr Arglwydd yn Llading: eithr rhan arbenig o'u defosiwn boreuol, oedd dywedyd y gyfarchiad honno at y forwyn Fair, y'ngeiriau yr angel, Luc 1. 28, fel hyn, "Henffych well, fendigedig Fair, yr hon a gefaist ras, yr Arglwydd sydd gyda thi; bendigaid wyt y'mhlith gwragedd, a bendigaid ffrwyth dy fru:" O forwyn bur fendigaid, eiriol trosom, a boed i ni, trwy dy eiriolaeth di, gael myned i mewn i'r deyrnas nefol gyd ag etholedigion Duw yn oes oesoedd. Amen.

Nid yn unig yn y boreu, eithr amryw weithiau, ar oriau pwyntiedig, trwy yr holl ddydd, mae y Pabyddion yn dywedyd y gyfarchiad neu'r weddi hon at y forwyn Fair. Hyn a orddeiniodd Pab Ioan XXII. Y ddefod sydd fel hyn yn y gwledydd Pabaidd hyd heddyw, dwy waith neu dair y boreu, a theirgwaith brydnhawn, a hyny ar yr un oriau bob dydd, fe genir cloch eglwys y plwyf gan y swyddog-eglwys, neu'r clochydd:—cyn gynted ag y clywo'r bobl yr arwydd hyn, yn ebrwydd pob un, pa beth bynag a fo'n ei wneuthur, pa un ai ar ei daith neu ynteu y'nghylch rhyw orchwyl, a syrth ar ei ddeulin ac a ddywed y gyfarchiad a grybwyllwyd, (yr *afe Maria*,) sef Henffych well, &c.

Y cyfryw a'r rhai'n oedd eu defosiynau trwy gorph y dydd. Y nos, cyn myned i'w gorphwysfa, yr arfer oedd, yn gyntaf, ymgroesi; hyny yw, gwneuthur llun y groes ar eu hwyn-

ebau megis yn y boreu: yn nesaf dywedent y *pater noster*, yr *afe Maria*, a'r credo; wedi hyny gwnaent y cyfryw gyffes a hon, Yr wyf yn cyfaddef o flaen yr Hollalluog Dduw a'r fendigedig forwyn Fair, ac o flaen St. Mihangel yr arch-angel, a St. Ioan fedyddiwr, &c. felly wedi enwi llawer rhagor o seintiau, cyfaddefent amryw bechodau neilltuol; ac ar ol y cyfaddefiad, dywedent fel hyn, Am hyny yr wyf yn atolwg ar y fendigedig forwyn Fair, St. Mihangel, St. Ioan fedyddiwr, a'r apostolion Pedr a Paul, a'r holl seintiau, ar iddynt weddio droswyf ar yr Arglwydd Dduw, tu ag at gaffael o honof faddeuant o'm pechodau, a chyfran gyd â'r holl saint o'r llawenydd didrancedig, Amen.

Felly dangosasom pa fath oedd eu defosiynau ar y diwrnodau wythnosol: ar y sabbothau, dyledswydd pob un oedd myned i'r llan i wrando'r *mass*. Tu ag at ddeall pa beth oedd y *mass* hwn, ystyrier y pethau a ganlyn:—

Yn eglwys Rhufain mae'n beth rhwymedig ar bob un o'r bobl gyffredin gymeryd y sacrament o swper yr Arglwydd unwaith yn y flwyddyn, sef ar ddydd pasg, eithr yr offeiriaid a'i cymerant bob sabboth, ac ar bob dydd gwyl hefyd, sef bob diwrnod y byddo iddynt weini'n gyhoeddus. Er mai nid sacrament yw'r peth maent hwy yn ei gymeryd, ond yn hytrach aberth neu offrwm, ac felly maent hwy eu hunain yn ei alw, Aberth y *mass*. Y modd maent yn ei weini ac yn ei drefnu sydd fel hyn,—

Yr offeiriad yn dra hynod ei wisgoedd, y rhai ydynt o lïain main ac ysgarlet, a llun y *groes o'r tu ol* ar ei gefn, gyd â'i ddiacon a'i

diacon, a ant i fynu i'r gangell: yno yr
iad, wedi troi ei wyneb tu a'r dwyrain, a
ch groesi ei wyneb a'i *frest* a'r llestri
l a fo'n cynwys y bara a'r gwin, a ddywed
w ffurfiau o weddiau yn Llading i gys-
'r bara a'r gwin, y rhai mae yn myned i
thur offrwm o honynt; ac felly gan ym-
i ac ymgrymu, efe a ddaw o'r diwedd at
ı yr ordinhad, gan ddywedyd fel hyn,
gwn arnat O Arglwydd Dduw hollalluog
ıdithio o honot yr offrwm hwn, fel byddo
fod i ni yn gorph a gwaed dy anwyl Fab,
arglwydd Iesu Grist, yr hwn y nos cyn
ddioddef a gymerodd fara, a chan roddi
ı a'i bendithiodd ac a'i torodd, ac a'i
lodd i'w ddisgyblion, gan ddywedyd,
rwch a bwytewch, canys hwn yw fy
rph. Cyn gynted ag y byddo i'r offeiriad
edyd y geiriau, Hwn yw fy nghorph,
Pabyddion yn credu fod y bara a'r gwin
el eu troi yn berffaith gig a gwaed, ac mai
ı Crist ydynt; am hyny, pan ddelo at y
u yma, efe a ymgryma i addoli yr elfen-
f y bara a'r gwin, wedi hyny, fe a'u cyfyd
ei ben i olwg yr holl gynulleidfa, y rhai
ınt yn y cyfamser y'nghorph y llan; yna
l pan eu gwelont, a syrthiant ar eu glin-
w haddoli, gan gredu eu bod y pryd hyny
doli Crist ei hun. Yr offeiriad wedi cys-
yr offrwm yn y cyfryw fodd a hyn, a
ia ar Dduw, iddo ei gymeryd yn aberth
radwy drosto ef ei hun ac eraill, gan ddy-
d fel hyn, Atolygwn arnat, Dad graslawn,
yn o honot yn gymeradwy yr aberth pur
yr y'm yn offrymu dros yr eglwys

gatholic, ar i ti ei rheoli a'i chynal trwy yr holl fyd; dros ein Pâb, a thros ein hesgob, &c. Ac felly â y'mlaen i grybwyll brenin y tir, a'i geraint, a'r holl ffyddloniaid, yn enwedig yn y gynulleidfa a fo'n bresennol. Wedi iddo yn y modd hyn ei offrymu dros y rhai byw, efe a weddia yn nesaf, ar iddo fod yn llesol i'r meirw yn y purdan, gan ddywedyd fel y canlyn; Cofia, Arglwydd, eu derbyn i'th heddwch, a rhoddi iddynt ran o'r orphwysfa dragywyddol yn y goleuni, trwy Iesu Grist ein Harglwydd.

Yr offeiriad, wedi darfod iddo fel hyn aberthu dros y byw a'r meirw, a ddywed eto amryw weddiau yn ychwaneg, yn enwedig y *pater noster*, ac erfyniad am eiriolaeth y forwyn Fair, a'r sanctaidd apostolion, Pedr, Paul, a'r holl seintiau; wedi hyn, ar ol iddo arfer rhai seremoniau, megis cusanu'r allor a'r llestri, curo ar ei *frest*, ymgrymu, &c. efe a gymer y bara a'r gwin, a chan wneuthur llun y groes â hwynt ar draws ei enau fe a'u bwyty. Y gynulleidfa a fydd trwy yr holl amser yn edrych arno ac yn addoli, canys nid yw y bobl yn cymuno ond unwaith yn y flwyddyn, megis y dangosasom uchod. Ar ol bwyta yr aberth yn y modd hyn, y diacon a rydd ddwfr a gwin yn gymysgedig i olchi ei ddwylaw. Wedi addoli llun y groes a dywedyd rhai gweddiau, yr epistol a'r efengyl, efe a ddibena â'r cyfryw ffurf o weddi a hon, Y fendigedig Drindod, boed gwasanaeth dy was annheilwng yn gymeradwy yn dy olwg, ac arogla arogl peraidd yn yr offrwm a offrymais i'th sanctaidd fawrhydi, a bydded yn llesol ac yn effeithiol i mi ac i bawb, dros y rhai yr aberthwyd, i bwrcasu

maddeuant pechodau; canys trugarog ydwyt ti, yr hwn wyt yn byw ac yn teyrnasu yn oes oesoedd. Ar hyn, yr offeiriad, wedi gwneuthur llun y groes ac ymgrymu, a ddaw heibio, a'r gynulleidfa a ymadawant. Dyma aberth y *mass*.

Y cyfryw addoliad a hwn oedd yn ein gwlad ni gynt; a'r gwasanaeth hwn a gyflawnir eto bob sabboth yn yr holl wledydd Pabaidd. Yn ol cyfraith y Pâb, pawb y'nt yn rhwymedig i fod yn bresennol ar y sabbothau, ac ar y dyddiau gwylion, pan yr offrymir y *mass*; am y gweddill o'r dydd, rhaid iddynt ymgadw oddi wrth orchwylion bydol; eithr am fyned i ddifyru mewn rhyw gampau a chwareuon, y mae iddynt fawr rydd-did.

Rhai, fe allai, a ymholant o blegid yr achos pa ham y mae y Pabyddion yn gwneuthur llun y groes mor fynych yn eu haddoliad:— y modd y daeth i fod mewn cymaint o gyfrif a pharch ydoedd fel hyn, y'nghylch 250 o flynyddoedd ar ol amser yr apostolion, pan oedd y Crist'nogion a'r Paganiaid eto yn gymysg yn y byd, peth arferol oedd gan rai Crist'nogion wisgo llun y groes: rhyfelwyr a'i gosodent yn eu baneri, brenhinoedd a'i hargraffent ar eu harian, a hyn o wir zel, i ddangos nad oedd arnynt gywilydd i arddel Crist croeshoeliedig. Eithr ar ol talm o amser, y Pabyddion a roddasant fwy o anrhydedd iddi nag a ddylid; ac o'r diwedd dechreuasant wneuthur eulun o honi trwy blygu iddi, ie a gweddio ati; canys eu harfer yn y gwledydd pabaidd sydd fel hyn:—Gwnant groes o ryw ddefnydd, o faen, neu goed, ifori, aur, neu

arian, &c. ac weithiau fe gerfir llun dyn, megis wedi ei hoelio arni. Y rhai'n a wneir o amryw faint; rhai yn fychain i'w dwyn yn oestadol yn eu cylch; eraill o faintioli fo mwy i'w gosod i fynu mewn tai, mewn llanoedd, ar ochrau y ffyrdd, ac ar benau heolydd mewn trefydd. Credu y maent fod rhyw rinwedd dirgeledig yn y groes i amddiffyn y sawl a'i cadwant yn eu cylch, ac i gadw y tai y gosodir i fynu ynddynt; ac odid iddynt edrych arni heb ymgrymu iddi: y bobl gyffredin, pan ei gwelont yn y lleoedd cyhoeddus, nid ant heibio iddi heb blygu eu gliniau. Gosodir heibio rai dyddiau yn y flwyddyn i'w cadw mewn ffordd o wyliau i'r groes, ar y rhai yr addolir hi yn fwy arbenig. Un o'r gweddiau a arferir ar ddydd gwener y Croglith* sydd yn dechreu fel hyn; O sanctaidd groes! ein hunig obaith ydwyt ti ar yr amser bendigedig hwn; rho gynydd gras i'r rhai cyfiawn, a symud ymaith feiau y rhai euog, &c.

Y mae ychydig weddillion o'r pethau hyn yn y wlad yma eto, er i ni ymwrthod â'r grefydd Babaidd er ys 300 o flynyddoedd; canys y mae'n beth arferol gan rai dynion, hyd heddyw, nid yn unig goffa enw'r groes, ond hefyd dynu llun y groes ar eu hwynebau a'u brestiau, a thros y dwfr yn yr hwn yr ymolchant, ac ar amryw achosion eraill. Nid, fe allai, am eu bod yn rhoddi y fath hyder yn y peth ag y mae y Pabyddion; eithr cymeryd rhyw foddlonrwydd, mae'n debygol, y maent, trwy gynal

* Felly y gelwid y diwrnod hwn, o blegid fod yr offeiriaid *Pabaidd ar y dydd yma yn darllen llithiau a gweddiau perthynasol i'r grog neu'r groes.*

i fynu arfer a dderbyniasant oddiwrth eu hen-afiaid, heb wybod nac ymholi erioed pa beth a arwyddoca. Hefyd, mewn rhai manau o Gymru fe ddywedir pan fo farw un, fod y cyf-ryw un dan ei grwys, canys felly yr oedd y ddefod gynt, sef gwneuthur crwys, hyny yw croes, o bren neu ryw ddefnydd arall, a'i gosod ar y corph hyd oni osodid mewn daear. Y dull o ymadrodd a arferid ar yr achos, a gyn-helir eto, er i'r peth ei hun gael ei droi heibio.

Yn y *mass* y buom yn ei ddesgrifio, ni a welwn y modd y mae y Pabyddion yn aberthu corph Crist, fel y maent hwy yn ei alw, dros bechod bob Sabboth; megis pe ba'i ei unig aberth ef yn annigonol. Gwneuthur cyfryng-wyr hefyd y maent o'r seintiau, yn enwedig y forwyn Fair, ar yr hon y galwant lawer myn-ychach nag ar Dduw ei hun: canys credu y maent, mai'r ffordd fwyaf effeithiol i gael cy-mhorth wrth raid, yw gweddio ati hi yn gyntaf a phenaf. Yr offeiriaid Pabaidd a adroddant y cyfryw bethau a hyn o blegid y forwyn Fair; pan ddaeth yr amser, meddant, y mynai Crist gymeryd ei fam ato ei hun, anfonodd angel ati i hysbysu y peth iddi; Mair a chwenychai, cyn ei hymadawiad, weled y deuddeg apostol, y rhai oeddent yn awr yn wasgaredig ar hyd y gwledydd, yn pregethu yr efengyl; am hyny darfu i angelion eu casglu a'u cario i Jeru-salem, i dŷ yr apostol Ioan, lle'r oedd Mair yn cartrefu. Yna, ar ol iddi ymddiddan dros enyd â'r apostolion, ac erchi rhai gorchymyn-ion iddynt, ei henaid a gymerwyd oddi wrthi heb oddef loes angau. Crist ei hun a'i holl angelion a'r seintiau a ddaethant i'w chyfarfod,

ac i'w thywys i'w gorphwysfa dragywyddol. Ei chorph a ddygwyd gan yr apostolion o Jerusalem i Gethsemane, ac a gladdwyd yno. Y'mhen deugain niwrnod, Crist a ddaeth drachefn, a'i holl angelion, i gyrchu ei chorph i baradwys gyda gorfoledd mawr. Felly Mair sydd yn awr yn ei chwbl berson, gorph ac enaid, yn y nef, medd y Pabyddion, mewn anrhydedd a phwer mawr iawn: canys Crist a'i gosododd i eistedd ar ei ddeheulaw, ac ni warafunir dim iddi ac a geisio. Fe gedwir gwyl yn flynyddol o ran coffadwriaeth o'r pethau hyn, yr hon a elwir Gwyl esgyniad y fendigedig Fair.

Y'mysg yr aneirif ffurfiau o weddiau a ddysgir i'r bobl eu gosod ati, un sydd yn y geiriau hyn, O Fair forwyn bur, brenhines y byd, ysgol y nef, drws paradwys, mam trugaredd, dan dy adenydd di y rhedwn; O na ddirmyga ein gweddiau yn nydd trallod, eithr rho waredigaeth i ni, dilëa ein pechodau, diwreiddia ein drwg nwydau, a phlana ynom bob rhinweddau da: O yr hyfryd Fair, bydded i ti yn ol dy awdurdod mamol orchymyn yr achubwr, dy Fab; rhynged bodd i ti ein cadw yn ddibechod, trugarha wrthym, trugarha wrthym; bydded dy dosturi yn fawr tu ag atom, canys ynot ti yr ymddiriedwn; ynot ti, yr hyfryd Fair, y gobeithiwn; caniata fod o honot yn noddfa dragywyddol i ni.

Y cyfryw a hon ydyw y grefydd sydd yn eglwys Rufain; y rhai a dywysant y bobl, gan beri iddynt gyfeiliorni, Esa. 3. 12. Fe fydd i ni, gan hyny, yn y lle nesaf roddi byr hanes o'r *dysgawdwyr* yma, sef yr offeiriaid Pabaidd,

hai ydynt yn gorwedd tan faich o euog-
dd o anfeidrol bwys, yn gymaint a bod
ddiwnau yn cael eu harwain ganddynt hwy
istryw.

n eglwys Rufain y mae dau fath o offeiriaid:
*lerici seculares, secular priests*, offeriaid
yfol neu wladol. 2 *Clerici regulares,*
*ılar priests*, offeiriaid yn byw wrth reol.
ıth gyntaf, sef y *seculares*, yw y rhai sy'n
ini yn y llanoedd neu'r eglwysi plwyfol,
r yr holl wledydd Pabaidd. Swydd a
ith y rhai hyn yw dywedyd massau ar y
ıothau ac ar y dyddiau gwylion; a dywedyd
*tins*, hyny yw boreuol weddiau, a *vespers*
osper, fel yr y'm ni yn awr yn eu galw,
y yw prydnawnol weddiau.

leblaw y defosiwnau hyn, y maent hefyd
lywedyd massau neilltuol dros y sawl o'r
yf a fuant feirw, tu ag at frysio eu gwared-
;aeth allan o'r purdan. Am y gwasanaeth
ı, y mae tylwyth a cheraint y rhai meirw
alu y cyfryw swm o arian am bob *mass;*
r y rhai cyfoethog yn gyffredinol yn gad-
yn helaeth yn eu hewyllys diweddaf tu
at hurio yr offeiriaid i ddywedyd massau
tynt.

: offeiriaid plwyfol hefyd y perthyn gwrando
es eu plwyfolion. Tu ag at ddeall pa beth
w y gyffes yma, y mae i ni ystyried, fod yn
ymedig a'r bob un yn eglwys Rufain wneu-
: cyffes neu gyfaddefiad neilltuol o'u holl
ıodau cyn belled ag y gallont eu cofio wrth
ıffeiriad, o leiaf, unwaith yn y flwyddyn,
yn amser y grawys, cyn dyfod o honynt i
ıuno ar ddydd y pasg.

Y Pabyddion ydynt yn cyfrif dau fath a bechodau, sef 1 *Peccata venialia*, pechodau maddeuol, 2 *Peccata mortalia*, pechodau marwol. Y pechodau marwol ydynt saith, sef, 1 Cybydd-dod. 2 Balchder. 3 Gormod chwant i leoedd uchel yn y byd. 4 Gormod chwant i glod ac anrhydedd. 5 Cashau gwasanaeth Duw: (eithr nid yw yn bechod marwol 'chwaith os bydd i ddyn gasau gwasanaeth Duw am ei fod yn flinderus i'r cnawd, ond pan fyddo iddo ei gasau am fod Duw yn ei erchi. 6 Digofaint, hyny yw, os bydd mor derrig a chwbl ddiffoddi cariad tu ag at Dduw a dyn. 7 Cenfigen:—eithr nid yw dyn yn pechu trwy genfigen 'chwaith meddant, oni bydd iddo gyfrif Duw yn anghyfiawn am roddi mwy i un arall nag iddo ef. Y pechodau hyn a alwant yn bechodau marwol, o herwydd os bydd i ddyn farw ynddynt heb edifarhau am danynt, nid oes fodd lai nac iddo fyned i boenau tragywyddol. Eithr am yr holl bechodau eraill a all dyn eu gwneuthur nid ydynt ddim ond pechodau maddeuol; hyny yw, y cyfryw bechodau nad ydynt yn haeddu dim ond yn unig rhyw gospedigaeth dymhorol ac amserol. Am y rhai hyn oll, medd y Pabyddion, nid yw ond peth cymhwys a chyfiawn i Dduw eu maddeu a phasio heibio iddynt. Fe gyffesir wrth yr offeiriad y pechodau marwol a maddeuol, cyn belled ag y gellir eu cofio: ar ol hyn rhaid i'r hwn a fo yn cyffesu ddywedyd, fod yn ddrwg ganddo ddarfod iddo bechu fel hyn, a'i fod yn edifarhau. Ar hyn fe ddywed yr offeiriad, *absolvote;* hyny yw, Yr wyf yn dy ryddhau. Wedi hyn fe gyfrifir y dyn mor lân,

ae mor rhydd oddiwrth bechod, a phe buasai heb bechu erioed. Eithr os bydd iddo fod yn euog o ryw bechodau mawrion, y mae'n rhaid iddo ddwyn rhyw benyd a osodo yr offeiriaid arno cyn cael o hono ei ryddhau, megis rhoddi rhai elusenau, myned ar bererindod i weled delw rhyw sant, neu ddywedyd rhyw rifedi o *bater noster*, neu *afe Maria*, neu'r cyffelyb beth. Y gyffes yma, un o sacramentau y Pabyddion ydyw, canys mae ganddynt hwy saith sacrament: sef y rhai hyn, 1 Bedydd, 2 Swper yr Arglwydd. 3 Confirmiad, neu y bedydd esgob. 4 Urddiad, sef yr urddau trwy ba rai mae un yn cael ei wneuthur yn offeiriad gan yr esgob. 5 Priodas. 6 Cyffes. 7 Yr eneiniad diweddaf.

Y cyfryw beth a hyn ydyw yr eneiniad diweddaf:—pan fo un o'r plwyf yn glaf ar ei orphen, fel y tebygir, yno fe ddaw'r offeiriad â rhyw gymysgedd o iraid neu olew ganddo, yr hwn raid iddo gael ei gysegru yn gyntaf gan yr esgob; ac â'r iraid hwn yr offeiriad a eneinia lygaid, clustiau, a holl aelodau y dyn claf, ac a ddywed fel hyn, Yr wyf yn dy eneinio â'r enaint hwn yn enw'r Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glân, fel y byddo i ti gael maddeuant o'r holl bechodau y bu yr aelodau hyn yn offerynol i'w gwneuthur, trwy dy holl fywyd. Ar ol derbyn o hono yr eneiniad hwn, fe gyfrifir yn gymwys i farw. Y cyfryw a hyn yw gweinidogaeth yr offeiriaid plwyfawl.

Y mae hefyd y'mysg y Pabyddion, fel y crybwyllasom uchod, fath arall o offeiriaid; sef y *regulares* neu y *canonici*, hyny yw, offeiriaid yn byw wrth reolau appwyntiedig: y rhai'n a

elwir monachod, a *ffreiers*. Monach neu mynach, gair Groeg yw, yn arwyddocau dyn unig; hyny yw, un yn neillduo oddiwrth y byd i fyw yn grefyddol. *Ffreier* neu *ffrer*, gair Ffrangceg yw, yn arwyddocau brawd; o herwydd y cariad a'r gymdeithas frawdol y maent yn broffesu fod rhyngddynt. O'r monachod a'r *ffreiers* yma y mae sectau neilltuol, y rhai ydynt yn aneirif; am hyny nis gallwn aros i roddi desgrifiad gywrain o bob un o honynt, eithr yn unig crybwyll y rhai mwyaf hynod a lluosog. Yn gyntaf, o blegid y monachod.

Yr achlysur a roddodd ddechreuad i'r genhedlaeth o fonachod oedd fel hyn:—Yn yr oesoedd nesaf at amser yr apostolion, pan oedd yr eglwys tan erledigaeth, darfu i rai Crist'nogion ffoi o'u cartrefi i leoedd anial i ymgadw rhag eu herlidwyr, ac yno treulient eu hamser mewn cabanau neu ogofau creigiau.

Ar ol talm o amser, darfu i amryw eraill, o'u gwir fodd ddewis y cyfryw ddull o fywioliaeth. Eu hesgus oedd, fel y byddai iddynt ochelyd twrddan y byd, a'r maglau sy'n cyd-ganlyn â thrafferthion ac achosion bydol; ac fel y byddai iddynt eu rhoddi eu hunain yn llwyr i fyfyrio, darllen a gweddio, a'r cyfryw ddyledswyddau crefyddol: eithr ni lwyr ymwrthodent 'chwaith ag achosion bydol, ond hwy a weithient mewn rhyw gelfyddyd neu gilydd, cyn belled ag oedd angenrheidiol tu ag at eu cynhaliaeth: a chyhyd ag y parhausant yn y dull hwn, yr ydys yn tybied eu bod yn ddiffuant yn eu proffes. Yr ydym yn darllen fod bagad o wyr duwiol dysgedig, y rhai oeddent yn byw yn yr

amser hwnw, yn barnu yn dda am y peth; megis Basil, Jerom, ac Awstin.

Y'nghylch y flwyddyn o oed ein Harglwydd 370, darfu i Basil eu cynull yn finteioedd neu yn gynulleidfaoedd, canys yr oeddent o'r blaen yn wasgaredig, ac a osododd iddynt y cyfryw reolau o ddisgyblaeth ag oedd ef yn dybied a fyddai fwyaf er adeiladaeth iddynt. Dyma'r sect hynaf o fonachod, y rhai a elwir monachod St. Basil. Y mae rhai o honynt eto yn eglwys y Groegiaid; ond y maent wedi dirywio a myned yn llygredig. Eithr blaenor neu athro penaf yr holl fonachod oedd Benedictus neu Benet, gwr o Italy. Y'nghylch y flwyddyn 472, darfu i Benet gynull ynghyd yr holl fonachod oedd wasgaredig yn Italy, ac a osododd reol neu ffurf o ddisgyblaeth iddynt yn 'sgrifenedig. Y rheol neu'r ddisgyblaeth oedd yn cynwys y fath bethau a hyn:—Rhaid oedd iddynt wisgo y cyfryw drwsiad, dillad o'r cyfryw liw; rhaid oedd iddynt weddio gynifer o weithiau yn y dydd; hyn a hyn o oriau oedd iddynt gysgu y nos; y cyfryw fwydydd a gaent fwyta; rhaid oedd iddynt ymprydio ar y cyfryw ddyddiau o'r wythnos; a'r cyffelyb orchymynion lawer iawn. Eu gwisgoedd uchaf oedd gwnau duon; yn lle esgidiau a hosanau am eu traed, gwisgent fotasau; het o frethyn du a arferent yn lle gorchudd pen. Cynifer a ddilynent y ddisgyblaeth hon, a elwid monachod St. Benet.

Y monachod hyn, o ddisgyblaeth St. Benet, a gynyddasant yn ddirfawr; a dechreuwyd yn awr adeiladu monachlogydd neu dai mawrion, megis colegau, i'w cynwys. Darfu i'r sect hon

hefyd, ar ol rhai oesoedd, wahanu yn amryw golofnau neu sectau neilltuol, naill ai trwy wneuthur rhyw gyfnewidiadau yn yr hen ddisgyblaeth, neu trwy 'chwanegu ati. Oddiyma daeth y monachod a elwir Clywiniaid, Carthwysiaid, Cistersiaid, Selestiniaid, ac amryw eraill: ac nid oes dref na gwlad, cyn belled ag y mae y grefydd Babaidd yn cyrhaedd, heb rai monachdai yn perthyn i ryw un o'r sectau hyn.

Y cilwyr neu'r neillduwyr yma, sef y monachod, gan ymneillduo fel hyn oddiwrth gyfeillach dynion, oeddent dra hunan-ymwadol; ac ar y cyntaf, yn *strict* a diwyd iawn yn eu defosiwnau; yr ydys yn barnu, fel y crybwyllasom o'r blaen, fod amryw o honynt y pryd hwnw yn wir grefyddol; eithr ni pharhasant felly yn hir; canys darfu iddynt o fesur ychydig ac ychydig oeri yn eu zel, a myned yn ffurfiol yn eu proffes; ac o'r diwedd yn llygredig, hyd onid aethant yn waradwydd i'r grefydd Grist'nogol.

Un peth enwedigol a fu yn achlysur i lygru y monachod, ydoedd yr uchel opiniwn oedd gan ddynion o'u plegid, canys tybio yr oeddent mai yn eu mysg hwy yr oedd y grefydd buraf; am hyny llawer o ddynion wedi ymflino trwy hir ymdrafferthu â'r byd, a chasglu llawer o olud, a chwenychent ddiweddu eu hamser y'mysg y monachod; y rhai hyn a wnaent y monachod yn etifeddion o ran fawr, ac fe allai, o'r cwbl o'u meddiannau. Fel hyn darfu i'r monachod o'r diwedd fyned yn oludog ac yn freision iawn: ac y mae yn beth y delir sulw arno y'mhob oes, nad yw arferol i gyfoeth a zel mewn crefydd gyd-sefyll yn hir.

Achlysur arall a gafodd y monachod i bentyru cyfoeth, oedd yr opiniwn mae'r Pabyddion yn ei ddal oblegid y purdan. Lle tanllyd ofnadwy, medd y Pabyddion, yw'r purdan, i'r hwn mae'n rhaid i'r holl eneidiau fyned yn gyntaf i'w puro, tu ag at gael eu cymhwyso i fyned i'r nef. Y mesur o boenau a ddioddefant yno, a'r ysbaid o amser y byddant ynddo, sy gyfatebol i'w bywioliaeth tra fuant yma yn y byd. Y rhai a fuant euog o lawer o bechodau mawrion, a ga'nt eu cystuddio yn fwy, a'r rhai a bechasant lai, a ga'nt fesur o boenau a fo lai yn y purdan: eithr dywedyd y maent drachefn, os bydd i offeiriaid a gwŷr defosionol eraill ddyfal osod i fynu weddiau trostynt, fe fydd i hyn fod yn fodd i ysgafnhau eu cur, ac i frysio eu gwaredigaeth allan o hono. Felly ar ol i'r bobl ddyfod i gredu y cyfryw athrawiaeth, dechreuasant gymeryd mawr ofal, yn eu bywyd, i ddarparu rhyw rai i weddio trostynt pan fyddent feirw: ni chyfrifid gweddiau offeiriad y plwyf yn ddigonol; eithr yn gymaint a bod pawb yn credu nad oedd neb yn gyffelyb i'r monachod, o ran duwioldeb a zel mewn crefydd, tebygent mai eu gweddiau hwy a fyddai fwyaf effeithiol i waredu eu heneidiau allan o'r purdan: am hyny byddent haelionus iawn tu ag at y monachod; rhoddent iddynt nid yn unig eu haur a'u harian, ond hefyd tiroedd; gan eu rhwymo wrth y monachlogydd yn etifeddiaeth dragywydd, i bwrcasu massau a gweddiau i'w dywedyd drostynt ar ol eu marwolaeth. O herwydd pa ham mae'r monachlogydd yn cynyddu fwy mewn cyfoeth a golud yn y gwledydd Pabaidd hyd y dydd hwn.

Gynt, pan oedd yr ynys hon yn Babaidd, yr oedd y perchen tiroedd, trwy Gymru a Lloegr, yn rhoddi mor helaeth i'r monachdai hyd oni thebygwyd yr ai holl renti a chyfoeth y deyrnas o'r diwedd at y monachlogydd a'r monachod: am hyny, fe wnaed cyfraith trwy barliament, yn y flwyddyn 1281, trwy'r hon yr ordeiniwyd, Na byddai i neb o hyny allan roddi tiroedd i'r monachlogydd heb *leisens* neu genad y brenin.*

Y cynheddfau a ofynid y'mhob un a fynai fod yn fonach, ac a chwenychai gael ei dderbyn i fonachlog, oedd y cyfryw a'r rhai'n. 1 Rhaid oedd iddo wneuthur adduned i fyw yn weddw neu'n sengl, canys nid yw gyfreithlon i neb rhyw offeiriaid y'mysg y Pabyddion ymrwymo mewn stât briodas. 2 Rhaid oedd iddo ymddwyn y'mhob peth yn ol ffurf o ddisgyblaeth a berthynai i'r sect; hyny yw, rhaid iddo wisgo, bwyta ac yfed, gwilio a chysgu, darllen, myfyrio, ymprydio, a gweddio, wrth reol neillduol osodedig. 3 Rhaid bod yn ufudd yn mhob peth i'r pen-monach; sef yr *abbot* neu'r *preior*. Felly trwy wneuthur y cyfryw drwst, a'r fath ymddangosiad teg, darfu i'r rhith zelotiaid hyn beri i'r byd gredu eu bod hwy o ran hunan-ymwadiad, sobrwydd, defosiwn a zel, yn rhagori ar bawb. Eithr yn ddiau y pethau a ddywedodd ein Iachawdwr gynt o blegid y Phariseaid, a ellir ddywedyd o blegid y monachod yn eglwys Rufain, sef fod o honynt yn debyg i feddau wedi eu gwynu, Mat. 23. 27, a'r hyn y mae St. Paul yn ei ddywedyd

* The statute of Mortmain.

am ryw rai yn ei ddyddiau ef, Duw y rhai yw eu bol, Phil. 3. 19.

Er cymaint yw eu rhodres o ymgadw ac ymneillduo oddiwrth bleserau'r byd, sicr yw fod y cyfryw aflendid a ffieidd-dra yn eu mysg nad yw gymwys eu hadrodd: ac nid heb achos y tebygwn mai'r genhedlaeth hon, sef y monachod a'r *ffreiers*, yw y baich mwyaf y mae'r ddaear yn ei ddwyn. Y rhai hyn a gant fawr barch fyth yn yr holl deyrnasoedd a berthyn i eglwys Rufain; ac yn ddiau, yn y wlad yma, er ein bod yn awr yn proffesu y grefydd Brotestanaidd, ac er bod yr holl dorf o offeiriaid Pabaidd wedi eu bwrw allan; eto, ni lwyr ollyngwyd yn angof y monachod; canys fe gedwir hyd y dydd hwn rai gweddillion o'r mawr barch a'r anrhydedd a roddid iddynt yn yr oesoedd gynt.

Y modd yr ydys eto yn cynal coffadwriaeth o'r monachod yn Nghymru, ni a gawn ddangos trwy y pethau a ganlyn. Ni a ddangosasom eisoes i'r Cymry dderbyn yr Efengyl yn amser yr apostolion: ac yn gymaint a bod pob cenedl sydd yn arddel crefydd, yn ymgynull y'nghyd i addoli, ac o achos hyny yn adeiladu lleoedd cymhwys i addoli ynddynt; yn yr un modd darfu i'r Cymry hwythau, ar ol iddynt dderbyn yr efengyl, ddarparu adeiladu tai perthynasol i gyflawni dyledswyddau crefyddol ynddynt yn gyhoeddus Y mae genym, mewn hen ysgrifenadau, bortreiadau yn dangos pa fath oedd y tai yr ymgynullai y Cymry ynddynt i addoli yn yr oesoedd cyntaf; nid oeddent ond isel a dirmygedig, mewn cyffelybrwydd i'r llanoedd sy'n awr:—yr adeiladaeth oedd o goed, sef

trawstiau, dellteni ac estyll, a'r gorchudd neu y to oedd o wellt, banadl, neu'r cyffelyb ddefnydd. Y cyfryw a'r rhai'n oedd tai cyfarfod neu lanoedd y Cymry ar y cyntaf, a hyny dros lawer o oesoedd, nid yn unig hyd ddyfodiad y Saeson, ond hefyd dros amryw o gannoedd o flynyddoedd wedi.

Fe grybwyllwyd o'r blaen y modd y darfu i'r Pâb o ddeutu'r flwyddyn o oed ein Harglwydd 600, anfon i Loegr i droi y Saeson, y rhai oeddent o'r blaen yn baganiaid. Y Saeson wedi derbyn o honynt y grefydd Babaidd a adeiladasant eu llanoedd yn ol portreiad eglwysi y Pabyddion, gan eu cysegru trwy'r amryw seremoniau a ordeiniasai y Pâb. Y Cymry hwythau wedi iddynt droi yn Babyddion y'nghylch y flwyddyn 1000 a ddilynasant esampl y Saeson, gan godi llanoedd o'r dull neu'r ffasiwn newydd, a sancteiddo tir y cysegr-lân neu'r fonwent, a chysegru y llan i ryw hen fonach yr hwn a gyfrifid yn sant, a chadw gwyl flynyddol er coffadwriaeth o'r peth.

Y modd y dechreuwyd gyntaf gysegru'r eglwysi i fonachod, oedd fel hyn:—O fewn i yspaid 300 o flynyddoedd ar ol amser ein Iachawdwr, bu'r Crist'nogion dan erledigaethau gwaedlyd iawn, y'mha rai y gosodwyd llawer mil o honynt i farwolaeth o blegid eu crefydd. Yn yr amseroedd hyn, arfer rhai o'r Crist'nogion oedd cyrchu at feddau y rhai a ddioddefasant am eu crefydd: yno y gweddient, ac y cynghorent eu gilydd i ddioddef yn amyneddgar, ac i lynu yn wrol wrth eu proffes; hyd yn hyn yr oedd y peth hyd a wyddom yn ddiniwed, ac fe allai yn ganmoladwy; ond megis yr Israel-

iaid gynt, y rhai fuasent yn ddigon parod, mae yn debygol, i gyrchu at fedd Moses, pe cawsent adnabyddiaeth o'r man, i wneuthur ffieidd-dra, felly y rhai'n o'r diwedd a ddechreuasant gymysgu coel-grefydd ac eulun-addoliaeth yn nghyd â'u defosiwn wrth feddau y merthyron: canys tybient fod rhyw rinwedd a sancteiddrwydd yn y lleoedd hyny ychwaneg nag mewn lleoedd eraill. Rhai a ddymunent, pan fyddent farw, gael eu claddu yn ymyl beddau'r merthyron yn hytrach nag mewn un lle arall: ac oddiyma daeth y ddefod o adeiladu eglwysi a llanoedd gerllaw neu o amgylch y cyfryw feddau, a rhoddi arnynt enw y merthyr a gladdasid yno, megis Sant Cristopher, Sant Clemens, Sant Alban, &c. Wedi cysegru y llan i'r cyfryw ferthyr, neu fonach a gyfrifid yn sant, fe gedwid gwyl iddo ar ddiwrnod gosodedig bob blwyddyn, yr hon a elwir gyd a ni yn awr, Gwylmabsant. Y pethau hyn a ddechreuasant mor gynar ag amser St. Awstin, yr hwn oedd yn byw y'nghylch y flwyddyn o oed ein Harglwydd 400; canys y mae efe yn un o'i lyfrau yn dywedyd, fod y cyfryw goel-grefydd yn ei ddyddiau ef yn gyffredin y'mysg Crist'nogion, trwy Asia ac Affrica, a rhai manau o Europe; ond y mae efe yn dywedyd hefyd, mai y rhai mwyaf ffurfiol a llygredig oedd yn cynal y cyfryw arferion, a bod y rhai duwiolaf yn eu ffeiddio ac yn dwyn tystiolaeth yn eu herbyn.

Wedi i'r grefydd Babaidd oresgyn yr holl wledydd, darfu i'r Pabyddion, nid yn unig gysegru llanoedd i'r seintiau, y merthyron, a'r hen fonachod, ond hefyd eu haddoli ynddynt. Eu harfer oedd fel hyn. Pan aent i adeiladu

llan neu eglwys i addoli ynddi, os gallent yn gyfleus, dewisent fan lle claddesid rhyw hen sant, merthyr, neu fonach, ac yno yr adeiladent. Eithr os hyn nis gellid, fe fyddai iddynt gyrchu esgyrn y cyfryw sant neu fonach, a'u gosod yn y llan dan yr allor: ac yn gymaint a bod amryw lanoedd yn cael eu cysegru i'r un sant, fe fynid, os byddai bosibl, ryw aelod neu gymal o hono i osod i fynu i'w gadw y'mhob un o honynt. Heblaw hyn, fe wneid delw o bren ar lun dyn yn ei lawn gorpholaeth i arwyddocau y sant hwnw, ac a'i gosodid i fynu ar lofft y grog; felly y gelwid y llofft hòno, o herwydd bod lun y grog neu'r groes yn cael ei gosod i fynu yno hefyd.

Ar ol gorphen y llan, a gosod i fynu esgyrn a delw y sant, fe appwyntid diwrnod i gysegru y llan: ar y dydd hwnw, fe gynhelid gwledd a gloddest, a dywedent weddiau lawer iawn, yn enwedig at y sant neu'r monach hwnw yr oeddid yn cysegru y llan neu'r eglwys iddo; ac ar hyny fe osodid ei enw arni. O hyn allan, yr oeddid yn credu y byddai i'r sant yma gymmeryd arno olygiaeth neillduol o'r eglwys a gysegrasid iddo; ac y byddai iddo eirioli gyd a Duw dros bawb a ddeuent i addoli iddi; o achos hyny, y plwyfolion a weddient ato yn gystal ag at Dduw ei hun; a phan ddelent i'r llan, troent eu hwynebau tu ag at y ddelw a'r esgyrn, a dywedent, O tydi yr hwn wyt tan yr allor, eiriol trosom. Ar yr wylmabsant, yr hon a gedwid bob blwyddyn, dygent amryw bethau yn lle offrwm i'r sant: yr offrymau yma, yr *offeiriad* a swyddogion y llan a'u derbynient: *a chredu* yr oeddent, mai pa fwyaf o offrymau

a roddent, mwyaf a gaent o leshad oddiwrth eiriolaeth y saint. Y pethau hyn a gynhelir eto yn eglwys Rhufain. Y Pabyddion a gysegrant eglwysi hefyd i'r forwyn Fair, yr hon sydd, meddant hwy, gorph ac enaid yn y nef; ac i'r angelion, megis Michael neu Mihangel, Gabriel a'r cyfryw; ac er nas gellir yma gael dim esgyrn i'w dangos, eto cedwir gwyliau mabsant iddynt mewn modd arbenig gyd ag amryw ddefosiwnau.

Y Cymry, megis y dangosasom o'r blaen, ar ol iddynt dderbyn crefydd y Pab, a ddechreuasant wneuthur llanoedd neu leoedd i addoli ynddynt, amgen na'r cyfryw oedd ganddynt o'r dechreuad. Darfu iddynt, yn ol esampl y Pabyddion mewn gwledydd eraill, eu rhoddi dan olygiaeth yr angelion, y forwyn Fair a'r monachod, gan eu cysegru iddynt a gosod eu henwau arnynt, a'r llanoedd hyny yw y rhai sydd genym yn awr. Eithr fel y byddo i ni roddi hanes fwy cywrain o'r peth hwn, rhaid i ni ddal sulw yn gyntaf, ddarfod i'r Cymry, wedi iddynt droi'n Babyddion, ddangos mwy o zel nac o'r blaen pan oedd ordinhadau yr efengyl yn cael eu gweini yn eu mysg yn eu purdeb: megis y mae yn arferol i ddynion wneuthur mwy o gyfrif o ofer draddodiadau dynol nac o orchymynion Duw ei hun. Felly yn awr, trwy gynhyrfiad y Pâb, hwy a gyfranent yn ewyllysgar ac yn helaeth tu ag at adeiladu temlau neu lanoedd godidog iawn; a byddent dra manwl a gofalus i arferyd yr amryw seremoniau appwyntiedig yn eu cysegriad, canys y Pabyddion a arferant seremoniau aneirif wrth gysegru eglwysi newyddion.

Y coeg-seremoniau a arferent wrth gysegru eu llanoedd, oeddent y cyfryw a'r rhai'n:— Wedi iddynt osod heibio y tir ar yr hwn yr oedd y llan i gael ei hadeiladu, fe fyddai iddynt, yn gyntaf, wasgaru lludw ar hyd-ddo; yn nesaf hwy a gymerent halen ac a'i hauent tros wyneb y lludw; ar ol hyny taenellent y tir â dwfr a gwin yn neilltuol ac yn gymysgedig. Hyn a wneid tu ag at sancteiddio'r tir: yna aent y'nghylch yr adeiladaeth. Ar ol gorphen y llan, paentid llun y groes yn aml iawn ar hyd y parwydydd; enynent ganwyllau; eneinient luniau y groes a dynasid ar y parwydydd: eneinient hefyd yr allor, a holl gorph y llan; gweddient at Dduw, yr angelion a'r seintiau, ar roddi o honynt eu presennoldeb yno yn oestadol. Fel hyn y gwnaent lawer iawn o seremoniau yn ychwaneg, heb y rhai ni chyfrifid mo'r llan yn gymwys ac yn addas i addoli ynddi. Drachefn, wedi iddynt sancteiddio y llan yn y modd y dangoswyd, hwy a gyrchent esgyrn yr hen fonach neu'r mabsant;* (canys monach a mabsant yr un peth ydynt; mabsant yn yr iaith Gymraeg sydd yn arwyddocau yr un peth a monach yn y Groeg, hyny yw dyn gweddw sengl a f'ai hynod mewn duwioldeb a sancteiddrwydd.) Yr esgyrn sanctaidd hyn, canys felly eu galwent, a osodid dan yr allor i'w cadw o genhedlaeth i genhedlaeth.

Ar ol iddynt fel hyn orphen y llan a'r cwbl o'i pherthynasau, byddai iddynt yn ol yr arfer

* Dalier sulw hefyd fod amryw o'r llanoedd wedi cael eu cysegru i'r arch-angel Mihangel, ac i'r forwyn Fair, a'r enwau sydd arnynt hyd heddyw.

Babaidd, osod heibio ddiwrnod i'w gadw yn sanctaidd bob blwyddyn, er coffadwriaeth o gysegriad y llan i'r cyfryw fabsant. Ar y nos o flaen y diwrnod hwnw, arfer y plwyfolion oedd ymgynull i'r eglwys neu'r llan, i wylio, ymprydio, a gweddio, ac i losgi canwyllau ger bron yr esgyrn; ac oddiwrth y gwiliadwriaethau yma y galwyd y dyddiau hyny yn wyliau-mabsant; fe y Cymry a alwent bob amser a gyfrifid yn sanctaidd yn wyliau, oddieithr y sabbothau, o herwydd fod yn arfer ganddynt wyliad ar y cyfryw brydiau. Wedi treulio o honynt nos-wyl y mabsant yn gwylio ac yn ymprydio, fe fyddai iddynt dranoeth, yr hwn a elwid dydd gwyl y mabsant, ymroddi yn llwyr i lawenydd; canys hwy dreulient yr holl ddydd mewn gwleddau, chwarëyddiaethau, cerddoriaeth, a phob math o ddifyrwch.

Y gwyliau hyn a gynhaliwyd y'mhob plwyf yn *strict* ac yn ddefosionol iawn, trwy'r holl amser y bu y grefydd Babaidd yn y wlad. Nid ydys yn awr yn gwneuthur cymaint cyfrif o nos-wyl y mabsant ag oeddid yn yr amseroedd hyny; eithr am y diwrnod, fe'i cedwir byth yn dra chyffelyb i'r modd y cedwid gynt; canys, yr ydys nid yn unig yn ymgynull i wledda, campio a difyru, eithr hefyd mewn rhai manau o Gymru, yn rhoddi rhyw fath o offrymau er mwyn Duw a Mair a'r mabsant, gan ei goffa wrth ei enw. Y Pabyddion yn ddiau sy lawen ganddynt glywed fod rhai o'u ceremoniau hwy yn cael eu cynal eto yn ein mysg.

Gwelwn, gan hyny, pa fath barch ac anrhydedd ydys yn ei roddi i'r hen offeiriaid Pabaidd,

trwy gadw, fel hyn, wyl arbenig yn flynyddol, er coffadwriaeth iddynt. Eithr yn sicr, y neb a ystyriant pa mor ffiaidd yw y sect hon, sef y monachod, fe fydd iddynt yn ddiatreg farnu, y dylid yn hytrach adael i'w henwau hwynt bydru, a rhoddi mawr ddiolch i'r Goruchaf ddarfod i'n gwlad gael ei harllwys o'r cyfryw genhedlaeth. Felly, gan ddarfod o honom roddi cyfrif o'r radd honno o offeiriaid sydd yn eglwys Rufain, y rhai a elwir monachod, fe fydd i ni yn y lle nesaf roddi býr ddesgrifiad o rywogoeth arall o offeiriaid Pabaidd ydynt yn byw wrth reol, sef y *ffreiers.*

Yr amser y dechreuodd y *ffreiers* dorri allan i lenwi y gwledydd, oedd y'nghylch y flwyddyn 1230. Y rhai penaf o honynt yw y Dominiciaid a'r Ffrancisiaid. Y Dominiciaid a elwir felly oddiwrth eu pen athro Dominic, megis y gelwir y lleill Ffrancisiaid oddiwrth eu pen meistr hwythau, yr hwn oedd Ffrancis.

Gŵr o Spain ydoedd Dominic o ran ei enedigaeth. Y gŵr hwn, yn ei fawr zel, a osododd allan i bregethu yn erbyn hereticiaid, ac a gasglodd ato ddisgyblion lawer iawn, ac a wnaeth iddynt ffurf o reolau neu ddigyblaeth, ac a'u danfonodd allan i bregethu; ef a gafodd gan y Pâb Honorius gomffirmio neu gadarnhau y frawdoliaeth neu'r sect yma o *ffreiers,* y rhai a elwir Dominiciaid; rhai a'u galwant, hefyd, Y *ffreiers* duon, oddiwrth liw eu gwisgoedd; canys dillad duon a wisgant.

Gŵr o Italy oedd Ffrancis, yntef hefyd a gasglodd ddisgyblion ac a roddodd iddynt orchymynion o ddisgyblaeth, y rhai a elwir testament neu eglwys St. Ffrancis. Y testament

hwn sydd yn cynwys y cyfryw orchymynion a'r rhai'n: Rhaid i'r disgyblion wisgo un wisg yn unig. Yn lle esgidiau nid oedd iddynt gymeryd ond yn unig rhyw fath o wadnau a chareiau wrthynt:—Darnau o gordeni a gaent yn lle gwregysau. Aur neu arian, a'r cyfryw bethau bydol, nid oedd iddynt lyfasu cadw yn eu meddiant, &c. Y Ffrancisiaid a elwid, hefyd, gynt, *mendicants*, hyny yw cardotwyr; canys un o orchymynion eu hathro oedd, fod iddynt fyw ar elusenau; eithr ni chadwasant mor gorchymyn hwn yn hir, canys ni bu neppell hyd oni chawsant fonachlogydd cynes, y'mha rai y maent, gan mwyaf, yn byw yn ddigonol iawn, un wedd a'r monachod. Yr ydys yn eu galw hefyd, Y *ffreiers* llwydion, o herwydd y gwnau llwydion y maent yn wisgo.

O'r ddwy ben sect yma y daeth amryw sectau neilltuol eraill o *ffreiers*; sef y *ffreiers minims*, hyny yw, Y rhai bychain, neu y rhai lleiaf oll; y *ffreiers recoletts*, a'r *capwshin** *ffreiers*, ac amryw eraill. Y mae hefyd rywogaeth o *ffreiers* a elwir *Carmelites*, yn ein hiaith ni, Y mabwynion, o herwydd eu gwisgoedd gwynion; y rhai hyn ydynt yn rhodresu dderbyn o honynt eu dechreuad cyntaf o fynydd Carmel, a chymerant arnynt ddilyn Elias a Ioan Fedyddiwr.

Y *ffreiers*, megis y monachod, ydynt yn byw y'nghyd yn frawdoriaethau neu'n finteioedd trwy yr holl wledydd Pabaidd: Cymru a Lloegr hefyd gynt oedd yn llawn o honynt. Y tai sydd yn cynwys y monachod, a elwir

* Capwshin, hyny yw hwd: canys rhyw fath o hydian hynod iawn a wisgant.

monachlogydd (*abbies:*) y tai y mae'r *ffreiers* ynddynt, a elwir *preior*-dai. Yr hwn sydd ben neu feistr ar fonachlog, a elwir *abbot*, a'i lŷs neu dŷ, *abbat*-ty. Pen y *preior*-dŷ yw y *preior*. Eithr y rhai sydd yn honni y gradd uchaf o hunan-ymwadiad a sancteiddrwydd, y'mysg holl ddynol-ryw, ydyw y rhai a elwir *ancorets* a *hermits*:—Y rhai hyn ydynt yn byw yn wahanredol, bob un wrtho ei hun.

Yr *hermit*, yr hwn a alwai y Cymry, gynt, meudwy; efe a gilia i ryw goed neu ystlys craig; yno y gwna iddo ei hun fwth neu dwlc, lle y treulia ei amser yn myfyrio, ac yn gweddio at Dduw, a Mair, a'r seintiau: ei ymborth ni bydd ond gwael; ac am ei wallt, ei farf a'i ddillad, fe a'u llwyr esgeulusa hyd oni byddo yn edrych fel Satyr yr anialwch.

Yr *ancoret* (yn Gymraeg ancr,) efe a ddewis ei le y'nghilfach llan neu bentref; ac yno mewn congl yr ymgarchara ei hun nos a dydd; ac odid iddo ef weled neb oddieithr y sawl a ddwg luniaeth iddo: a thu ag at ddarostwng y corph, gorwedda ar y llawr, cloddia ei fedd â'i ewinedd, &c. A'r cyfryw galedi a gerwindeb a arfera tu ag ato ei hun ac y byddai anhawdd genym eu credu. Eithr yn gymaint a bod y bobl hyn yn arferyd y cyfryw foddion ag nad appwyntiodd Duw i farweiddio pechod, a thu ag at fyw buchedd sanctaïdd, y mae genym achos i dybied y bydd iddynt yn lle y ganmoliaeth hon, "Da, was da a ffyddlon," gael clywed dywedyd wrthynt yn y diwedd, "Pwy a geisiodd hyn ar eich llaw?"

Y mae eto un rhywogaeth yn ychwaneg o'r rhai a gyfrifir yn ddefosionol yn eglwys Rufain

sef y Jesuitiaid. Y'nghylch y flwyddyn 1536, Ignatius Loyola, gŵr o Spain, a gasglodd ato ddisgyblion, ac a ordeiniodd y sect hon. Cymerasant eu henw oddiwrth Iesu, tu ag at yr hwn y proffesant gariad a zel tu hwnt i bawb. Y Jesuitiaid yma, fel y monachod a'r *ffreiers*, ydynt yn byw yn finteioedd mewn rhyw fath o fonachlogydd, y rhai y maent yn alw *colleges*, trwy yr holl wledydd Pabaidd yn aml iawn:—Ar bob *college* neu fintai, y mae pen neu raglaw. Wrth gael o honynt eu derbyn i mewn i'r *college*, rhaid iddynt gymeryd llw, neu wneuthur adduned, i fod yn ufudd i'w pen y'mhob peth. Felly, pan fyddo i'r pen neu'r meistr roddi arch i rai o honynt i fyned i bregethu y grefydd Babaidd y'mysg yr Indiaid barbaraidd, y'nghyrau eithaf y ddaear, rhaid iddynt fyned. Os gorchymynir iddynt ladd yn ddirgel ryw un a fo'n rhwystr i'r grefydd Babaidd (bydded ef frenin neu emprwr) byddant barod i ufuddhau y fath orchymyn gwaedlyd a hwn:—A sier yw, mai nid anfynych y maent yn cael eu gosod ar y cyfryw waith. Llawer o'r gwyr mawrion sydd y'nghymdeithas eglwys Rufain, a fyddent barod i ymadael â'r grefydd, oni bai ofn bradwriaeth y dynion hyn: ac yr ydys yn tybied mai y sect hon yn enwedigol, yw yr atteg benaf, neu'r brif-golofn sydd yn cynal i fynu eglwys y Pâb.

Cyn ymadael o honom â'r pwngc neu'r testyn hwn, y mae i ni ddal sulw y'mhellach, fod y menywod hefyd yn eglwys Rufain, yn chwenych dangos eu hunan-ymwadiad a'u zel yr un ffunud a'r monachod a'r *ffreiers*; canys hwythau a ymgasglant yn finteioedd ac yn

chwaeroriaethau, ac a wnant adduned i fyw yn sengl, ac a ddilynant ffurf o ddisgyblaeth. Y chwiorydd hyn a elwir yn gyffredin, *nuns*. Y Cymry a'u galwent monachesau, santesau, gwyryfon; a'r monachlogydd maent yn byw ynddynt a elwid *nunneries*, llan y gwyryfon. Yr hon a ddysgodd y cyfryw ddull o fywioliaeth i'r menywod gyntaf, oedd Scolastica, chwaer Benet, yr hwn oedd ben meistr y monachod, megis y crybwyllwyd o'r blaen. Eithr y ddwy rywogaeth benaf o'r monachesau neu'r gwyryfon Pabaidd yma, yw sect Sant Clara, a sect Sant Bridget.

Y Santes Clara, neu Sant Clêr,* merch o Italy ydoedd: yr oedd hi yn byw yr un amser, ac yn yr un dref a St. Ffrancis, pen athro y Ffrancisiaid; ac wedi cael o honi ei haddysgu a'i chynhyrfu gan y pen-ffreier Ffrancis, hi a wnaeth ffurf o forwynion lawer iawn. Y sect hon a amlhaodd yn ddirfawr mewn ychydig amser, felly y darfu i'r Cleirw hyny ddyfod yn hynod trwy yr holl wledydd Pabaidd. Nid oes ond y goel-grefydd a'r ffieidd-dra yn eu mysg.

Bridget, yr hon a eilw y Pabyddion Sant Brigit, oedd frenhines yn Sweden, y'nghylch y flwyddyn 1370: hithau hefyd a ddyfeisiodd ffurf o reolau i forwynion crefyddol; felly darfu iddi ddyfod i fod megis yn ben-meistres ar sect o wyryfon defosionol, y rhai a elwir monachesau neu wyryfon Sant Brigit. Y sect hon sydd fwy ffiaidd eto na'r llall a grybwyllwyd o'r blaen. Felly, rhoddasom fŷr hanes

* Y Cymry hefyd a'i galwent Clara wen, a'r gwyryfon a ddilynent ei disgyblaeth, Cleirw, a Chlarach.

am yr amryw sectau a gyfrifir yn fwyaf crefyddol yn mysg y Pabyddion; a pha mor lluosog ydyw y rhai'n, gallwn ddeall, mewn rhan, wrth yr hyn a ganlyn,

Yn Ffrainc ei hun y mae pum' cant o *nunneries*, a phedwar ugain mil o *nuns* neu fonachesau; pum' cant o *hermits* ac *ancorets*; pymtheg cant o fonachlogydd a phreior-dai, ac y'nghylch chwech ugain mil o fonachod a *ffreiers*. Os oedd, gan hyny, y cyfryw liaws o honynt o fewn terfynau un wlad, pwy a all amgyffred eu rhif trwy holl eglwys Rufain, yr hon sydd yn cynwys cynifer o wledydd a theyrnasoedd mawrion a helaeth.

Erbyn hyn, yr ydym yn barnu ddarfod o honom, trwy yr amryw bethau a fynegwyd, ddangos y wedd anhyfryd a fu ar grefydd yn ein gwlad yn y dyddiau gynt. Fe fydd, ysgatfydd, i'r pethau a adroddasom gyffroi ymysgaroedd o dosturi yn y darllenydd tu ag at gyflwr ein henafiaid tra fuont yn y cyfryw stât o dywyllwch:—A byddir, fe allai, yn chwenych gwybod pa hyd y bu'r *eclipse* neu'r tywyllwch hwn yn myned heibio.

Tu ag at wybod dros ba hyd y bu ein henafiaid dan y tywyllwch yma, nid rhaid i ni ond edrych yn ol ar yr hyn a grybwyllwyd eisoes. Ni a ddangosasom o'r blaen i'r Saeson gael eu troi i'r grefydd Babaidd y'nghylch y flwyddyn o oed ein Harglwydd 600; ac iddynt barhau yn y grefydd honno hyd y flwyddyn 1533. Dangosasom hefyd i'r Cymry hwythau ymddarostwng i'r Pâb, a derbyn y grefydd Babaidd y'nghylch y flwyddyn 1000, wrth yr hon grefydd y glynasant hyd y flwyddyn hòno

o oed ein Harglwydd 1533, y pryd y dechreuwyd y diwygiad, yn amser teyrnasiad Harri VIII.

Felly, y Cymry a fuant gyd-weision â'r Saeson i'r Pâb dros ychwaneg na phum' cant o flynyddoedd: ac yn ddiau, caethiwed tost ac erchyll y buant ynddo yn y cyfamser; canys heblaw y grefydd ddinystriol yr oedd y Pâb wedi ei sefydlu yn eu mysg, yr oedd efe hefyd yn eu gorthrymu yn chwerw yn eu meddiannau. Yr oedd bob blwyddyn gymaint o arian ac aur yn cael eu hanfon o Gymru a Lloegr i Rufain hyd onid oedd y Pâb ei hun yn rhyfeddu* pa fodd yr oeddent yn gallael eu casglu: eithr nid oedd fodd iddynt lai na rhoddi iddo yr hyn oll a fynai, canys purdan ac ysgymundod y Pâb oeddent yn y dyddiau hyny yn ofnadwy ac yn ddychrynedig iawn.

Wedi darfod i'r gorthrymwr yma, sef y Pâb, ddamsang a baeddu ein henafiaid, a'u cadw mewn tywyllwch ac eulun-addoliaeth, dros hir amser, darfu i'r Goruchaf o'r diwedd, yn ei fawr drugaredd, ymweled â'n gwlad trwy ddyfod a'r diwygiad, neu i dywyllwch y grefydd Babaidd roddi lle i hyfryd oleuni yr efengyl. Felly, yn y lle nesaf, fe fydd i ni ddywedyd ychydig o blegid y diwygiad yma yn fwy neilltuol: eithr yn gyntaf, y mae un peth ychwaneg i ni i ddal sulw arno; sef, Fod rhai (yn amser y tywyllwch mwyaf, a phan yr oedd Pabyddiaeth wedi ei chadarnhau a'i sefydlu yn y wlad mor sicred ag y gallai y Pâb a'i gynghoriaid ei gwneuthur) yn cael eu

* Y Pâb oedd yn arfer galw Brydain, *Puteus inexhaustus*, hyny yw, Y ffynon ddiyspydd; o herwydd nad oedd diwedd o'r aur a'r arian oedd yn dyfod i'w goffrau ef oddi yma.

uo i ganfod pa mor ffiaidd a dinystriol
edd y grefydd Babaidd. Y rhai hyn ni
gent eu gliniau i'r Baal Rhufeinig: eithr
oeddent ond anaml, ac megis yn ddirgel-
; canys os ymddangosent, yr oedd yr
riaid Pabaidd yn barod i'w cipio i'w bwrw
ân: canys fe wnaed cyfraith, trwy barlia-
t, yn amser teyrnasiad Harri IV. y'nghylch
yddyn 1400, trwy yr hon yr ordeiniwyd i
b a ymadawent â'r grefydd Babaidd gael
losgi yn tân.
to, yr oedd rhai yn y dyddiau peryglus
y yn dywedyd eu meddwl yn gyhoeddus,
n pregethu yn erbyn camsyniadau'r amser;
is William Swinderby, Walter Brute,
liam Salter, William Thorp, ac eraill:
hwy a gawsant, gan mwyaf, y dihenydd
llon yr oedd cyfreithiau gwaedlyd yr am-
edd hyny yn ei farnu.
i a ddylem yma wneuthur coffhâd neill-
l o'r enwog Wicliff, yr hwn a safodd i
yn wrol yn erbyn y Pâb a'i holl ganlyn-
. Doctor John Wicliff oedd yn byw
hylch y flwyddyn 1370. Fe gafodd ei
o i weled pa mor gyfeiliornus a dinystriol
d y grefydd Babaidd, yr hon yr oedd y
fwyaf o'r byd y pryd hwnw yn ei phro-
; ac nis cadwodd mo'i ganwyll tan lestr,
ys trwy 'sgrifenu llyfrau, dadleu, a phre-
u, ymrodd i ddyfod a dynion i adnabydd-
h o iachusol wirioneddau yr efengyl, gan
heibio athrawiaeth gamsyniol ac ofer
ddodiadau eglwys Rufain. Ni bu neppell
oni thynodd am ei ben dymestl erwin o
ulon, canys arch-esgob Canterbury, a'r

esgobion, a'r holl dorf o offeiriaid Pabaidd trwy'r deyrnas, a'r Pâb ei hun, a gyd-gyfodasant yn ei erbyn i'w ostegu.

Yr amser yn ddiau a ballai i ni fynegi yn neilltuol am yr hir erledigaeth a ddioddefodd: eithr yn unig ddal sulw, iddo ef, er cymaint oedd cynddaredd ei wrthwynebwyr, fyned rhagddo i bregethu yr efengyl, ac iddo fod yn offerynol i droi llaweroedd i'r union; a Duw a'i hamddiffynodd, ac a'i cynorthwyodd i ddwyn tystiolaeth i'r gwirionedd dros amryw flynyddoedd, fel y darfu iddo yn y diwedd farw ar ei wely mewn heddwch, megis y digwyddodd i Luther gan' mlynedd ar ol hyny, fel y crybwyllwyd pan roddasom hanes dechreuad y diwygiad yn Germany. Eithr Wicliff wedi ei farw, a gorwedd o hono un mlynedd a deugain yn ei fedd, y Pabyddion a gyfodasant i fynu ei esgyrn ac a'u llosgasant yn tân, ac a daflasant eu lludw i'r afon. Eu llid a enynasai o newydd yn ei erbyn o herwydd bod ei ganlynwyr ef erbyn hyn yn ymddangos yn dra aml yn y wlad.

Canlynwyr Wicliff a elwid gan y Pabyddion Lolards,* mewn ffordd o enllib a gwawd. Eithr y Wicliffiaid, er cael o honynt eu goganu, eu gorthrymu, a'u carcharu, ie a lladd llawer o honynt, eto ni allodd y Pabyddion eu llwyr ddifa, ond daeth Duw a gwaredigaeth iddynt. Felly y rhag-ddiwygiad hwn, trwy Wicliff ac eraill, oedd megis blaen-ffrwyth o'r hyn a ganlynodd, neu megis y wawr-ddydd yn rhagflaenu y goleuni mawr a dorodd allan yn y

* *Oddiwrth* y gair llading Lolium, yr hwn sy'n arwyddocau efrau.

diwygiad oedd yn awr yn nesau, a thrwy yr hwn y taenodd llewyrch yr efengyl dros yr holl wlad.

Y peth nesaf, gan hyny, yr ymosodwn yn ei gylch a fydd, rhoddi hanes neilltuol o'r diwygiad a grybwyllwyd, pan y gwelodd Duw yn dda dynu i lawr awdurdod y Pâb, a diwreiddio ei grefydd ddinystriol ef allan o'n mysg. Tu ag at osod yr hanes yn eglur, fe fydd i ni ddangos yr achlysur a gafwyd gyntaf i fwrw i lawr bwer ac awdurdod y Pâb yn Lloegr a Chymru: ac i'r pwrpas hwn, y mae'n rhaid i ni ddywedyd ychydig mewn perthynas i stât wledig y deyrnas, ac o blegid y brenhinoedd oedd yn teyrnasu yma yn yr amser hwnw.

Ni a ddangosasom o'r blaen y modd y darfu i'r Saeson lwyr ddarostwng y Cymry a gwneuthur Lloegr a Chymru yn un deyrnas, yn nghylch y flwyddyn 1280, sef yn amser teyrnasiad Edward I. er hyn nid oedd dim cydfod rhwng y ddwy genedl; canys y Cymry oeddent yn barod i ddisgwyl pob odfa i ddrygu y Saeson, er bod o honynt yn cael eu gorthrechu fynychaf; eithr er hyn oll, y Cymry a fuant anesmwyth hyd oni chawsant un o'u cenedl eu hunain i fod yn frenin ar Loegr; sef Harri VII. yr hwn oedd ŵr bonheddig o Gymro.

Y modd y daeth Harri VII. i fod yn frenin, oedd fel hyn:—Yr oedd yr amser hwnw yn teyrnasu ar Loegr un a elwid Richard III. Y Richard yma a laddasai ei ddau nai, y rhai oeddent etifeddion i'r goron, tu ag at wneuthur y lle yn rhydd iddo ei hun: eithr yr holl wlad gan mwyaf a'i casasant ef o blegid ei fwrddrad ffiaidd, ac am ei fod yn orthrymwr creulon.

Ein cyd-wladwr Harri, yr hwn nid oedd eto ddim ond Iarll, oedd, o ran ei fam, yn perthyn i dylwyth brenhinol Lloegr; eithr o ochr ei dad, Cymro ydoedd:—Canys ei dad-cu, Owen ap Tudur, oedd o hiliogaeth hen dywysogion Cymru. Felly, yn gymaint a bod Richard yn gorthrymu mor dost, darfu i rai anog Harri i sefyll i fynu am y goron; ac felly y gwnaeth. Yr oedd ef y pryd hyn wedi ymadael â Lloegr, a ffoi i Ffrainc, rhag ofn Richard; ac wedi cael o hono beth cynhorthwy o longau a gwyr gan frenin Ffrainc, ymosododd i ddyfod drosodd i Loegr; a daeth i dir yn Milfford-hafn. Y Cymry a ymgasglasant ato yn dorfeydd mawrion, o herwydd bod ganddynt fawr ewyllys i helpu eu cyd-wladwr i berchenogi'r goron. Richard yntef, oedd erbyn hyn wedi casglu cymaint o wŷr ag a allodd, yn dyfod i'w gyfarfod. Y man yr ymgyfarfuant, oedd yn agos i dref Bosworth, yn Leistershire:—ac ar ol ymladd o honynt y'ngylch dwy awr, lladdwyd Richard, ac enillodd Harri'r maes: ac yn ebrwydd cafodd ei goroni yn frenin ar Loegr a Chymru, dan enw Harri VII. Hyn a fu y'nghylch y flwyddyn 1485.

I Harri VII. yr oedd dau fab, sef Arthur a Harri. Yr hynaf, sef Arthur, a briododd ferch brenin Spain, enw yr hon oedd Catherin; ac a gafodd y'nghylch deng mil a deugain o bunnoedd mewn ffordd o waddol: ond ar ol pum' mis o amser, bu farw Arthur; ac o achos hyn yr oedd y gwaddol i'w dalu yn ol i frenin Spain, megis yr oedd cytundeb y briodas: eithr Harri VII. oedd yn anfoddlon i ymadael

a'r gwaddol yma, canys y cyfryw swm a gyfrifid yn fawr yn Lloegr yr amser hyny; o herwydd hyn fe ddyfeisiodd roddi Catherin yn wraig i Harri yr ail fab: y cyfryw beth a fernir yn anghyfreithlon ac yn ffiaidd y'mysg rhai yn proffesu Crist'nogrwydd; am hyny darfu i'r brenin Harri VII. ddanfon at y Pâb tu ag at gael ganddo ganiatau'r peth, a'i gyhoeddi yn gyfreithlon, canys y cyfryw bŵer mae y Pabyddion yn ei gredu fod gan y Pâb: ac felly efe a roddodd y *dispensation*, hyny yw *writ* neu ysgrifen i ganiatau a chonffirmio'r briodas, yr hon, ar ol ychydig ddyddiau wedi, a gyflawnwyd.

Yn y flwyddyn 1509, bu farw Harri VII. ar ol iddo deyrnasu y'nghylch pedair blynedd ar hugain; ac ar ei farwolaeth ef, fe wnaed ei fab Harri yn frenin, dan enw Harri VIII. Iddo ef y ganwyd merch yr hon a elwid Y dywysoges Mari. Hon oedd etifeddes i'r deyrnas; canys unig blentyn ei thad a'i mam ydoedd. Pan ddaeth y dywysoges Mari mewn oedran, ei thad a chwenychodd (tu ag at sefydlu'r deyrnas) ei rhoddi mewn priodas i frenin Ffrainc: eithr brenin Ffrainc oedd mewn petrusder ac amheuaeth o blegid ei hawl a'i theitl i'r goron; am hyny efe a'i gwrthododd, gan ddywedyd na anesid mo honi trwy briodas gyfreithlon.

Pan ddeallodd Harri VIII. fod ei blentyn a'i etifeddes yn cael ei gyfrif megis yn fastardes, efe a lanwyd o drymder meddwl; ac mewn cyfyng gyngor mawr yr ydoedd, heb wybod pa beth i wneuthur, na pha ffordd a gymerai. Eithr o'r diwedd fe fwriadodd fwrw y wraig ymaith, a phriodi drachefn, fel y byddai iddo

gael etifeddion cyfreithlon i deyrnasu ar ei ol, ac na byddai stât y deyrnas yn sigledig ar ol ei farwolaeth ef: felly fe ddanfonodd at y Pâb eto, i gael ganddo ddad-wneuthur yr hyn a wnaethai, sef cael llythyr ysgar. Y Pâb oedd yn foddlon o'i ran ei hun i ganiatau iddynt wahanu, megis y caniatasai y Pâb a fu o'i flaen ef iddynt fyned ynghyd. Eithr yr oedd emprwr Germani yn rhwystr* iddo: yr hwn oedd nai i'r frenhines Catherin gwraig Harri VIII. Yn gymaint a bod y frenhines yn anfoddlon i'r ysgar yma, hi a ddanfonodd at yr emprwr, gan ddeisyf arno wneuthur yr hyn oll a allai tu ag at atal y Pâb rhag rhoddi y llythyr ysgar. Yr oedd y'ngallu yr emprwr, y pryd hwnw, wneuthur anghymwynas mawr i'r Pab os byddai iddo ei anfoddloni: a'r Pab hefyd oedd yn gwybod na byddai diogel iddo anfoddloni y fath gymydog galluog: felly yr oedd mewn trallod a chyfyngder mawr iawn; canys digio yr emprwr ni byddai ddienbyd iddo, ac o'r tu arall, chwenychai ryngu bodd brenin Lloegr. Yn y cyfamser, Harri VIII. oedd, trwy ei genhadon, yn daer ar y Pâb am gael y llythyr ysgar:—ond y Pâb yn lle caniatau ei ddymuniad, a'i porthodd o ddydd i ddydd âg addewidion teg; ac yn fynych y cymerodd arno fyned y'nghylch y peth, eto ni chaed ganddo ei gyflawni yn gwbl ac yn hollawl. Yn y modd hwn darfu iddo oedi'r amser a gohirio dros y'nghylch dwy flynedd. Pan oedd y brenin yn y cyfyngder hwn, darfu i'r doctor

* Nid oedd pwer y Pâb mor ofnadwy ag y buasai yn yr oesoedd *o'r blaen* y'mysg y penaethiaid, ac y mae yn gwanhau o'r amser *hwnw hyd* yr awr hon.

Thomas Cranmer, gwr dysgedig o Loegr, ddangos iddo y gallai ef ddyfod a'i fater i ben trwy ffordd arall; sef, trwy ddanfon i ofyn cyngor ac opiniwn y rhai mwyaf dysgedig trwy holl Europe o blegid y peth, gan osod y Pâb heibio. Y brenin, pan glywodd y cyngor hwn, a fu lawen ganddo; ac yn ddioed fe ddanfonodd dros yr holl wledydd at y rhai dysgedig penaf a gyfrifid, yr amser hwnw, i ofyn eu barn a'u hopiniwn. Felly, wedi cymeryd amser i ddwys ystyried y peth, hwy a roddasant bob un ei opiniwn; a'u barn hwynt oll, oddieithr ychydig nifer, oedd, Nad oedd yn gyfreithlon iddo briodi yr hon a fuasai o'r blaen yn wraig i'w frawd, ac y dylai ei bwrw ymaith; a bod yn gyfreithlon iddo briodi un arall. Yn awr, wedi cael o hono farn cynifer o wyr dysgedig ar ei ochr, nid aeth i ddisgwyl y'mhellach am lythyr ysgar oddiwrth y Pâb; eithr fe alwodd ynghyd esgobion a gwyr eglwysig y deyrnas, ac a barodd iddynt gynal cwrt tu ag at wneuthur ysgariaeth rhyngddo ef a'i wraig Catherin. Felly, wedi iddynt ymgynull, a threfnu materion yn ol y ffurf a'r ddefod arferol yn y cyfryw achosion, darfu i'r doctor Thomas Cranmer, arch-esgob Canterbury, roddi'r *sentence*, gan gyhoeddi, Fod y briodas rhwng Harri VIII. a Catherin, yr hon a fuasai yn wraig i'w frawd Arthur Tudur, yn anghyfreithlon; ac nad oedd lwfiedig iddynt fyw yn y cyfryw berthynas i'w gilydd; a'u bod o hyny allan yn rhydd, megis pe na buasai y cyfryw berthynas erioed rhyngddynt. Hyn a wnaed yn y flwyddyn 1533.

Y brenin wedi iddo fwrw y wraig Catherin ymaith, a briododd Ann Bulein, o'r hon y gan-

wyd iddo ferch a elwid Elizabeth. Erbyn hyn, mae'n hawdd deall nad oedd dim cymhwysder rhwng y Pâb a brenin Lloegr: am hyny efe a ddanfonodd i wysio y brenin i ateb o'i flaen yn Rhufain am y pethau a wnaethai heb ei genad ef: eithr Harri VIII. yn lle ufuddhau i wŷs y Pâb, a alwodd y'nghyd ei *barliament*, i wneuthur cyfreithiau i fwrw i lawr ac i dori ymaith holl bŵer y Pâb o'r deyrnas: canys hyd yn hyn, trwy law y Pab yr oedd brenhinoedd Lloegr yn cael eu coron; efe oedd yn ben ar eglwys Loegr, ac yn gwneuthur yr esgobion. Yr holl wŷr eglwysig a gymerent lw, wrth eu hordeinio, i faentumio pŵer ac *interest* y Pâb yn y deyrnas. Ar rodd y Pab yr oedd pob esgobaeth a phersoniaeth; ac yn fynych, efe a ddanfonai rai o'i geraint ei hun o Rufain i Loegr, i ddewis y bersoniaeth a fynent: ac er na ddeallant iaith y wlad, eto hwy a gaent fudd a *phroffit* y lle. Yn ddiau, yr oedd y deyrnas hon yn y dyddiau hyny (megis y crybwyllasom o'r blaen) yn cael ei gorthrymu gan Bâb Rhufain yn y cyfryw fodd nad oedd bosibl ei oddef; canys yr oedd ef yn cael, fel yr ydys yn cyfrif, yn lle rhent, a thrwy amryw ffyrdd eraill, y'nghylch chwech ugain mil o bunnoedd o Loegr bob blwyddyn, yr hyn ydoedd fwy nac oedd brenin y tir yn ei gael yr amseroedd hyny. Darfu i Harri VIII. gymeryd yr achlysur hon i waredu ei hun a'r wlad oddiwrth orthrymwr Rhufain: felly y gwnaed cyfraith i warafyn appelio mewn dim math o faterion at gŵrt Rhufain. *Statutes* eraill a wnaed, trwy ba rai y gwnaethpwyd y brenin yn ben ar eglwys Loegr; a rhoddwyd i'r *brenin* bŵer i enwi y sawl a fynai ef i fod yn

esgobion, a'r pŵer hwn sydd gan frenin Lloegr hyd y dydd heddyw.

Cyn myned o honom y'mhellach, rhaid i ni ddwyn ar gof y peth a grybwyllwyd o'r blaen o blegid John Wicliff, sef, i laweroedd gael eu troi trwy ei bregethiad ef oddiwrth y grefydd Babaidd y'nghylch y flwyddyn 1370. Ei ganlynwyr ef, er eu bod yn wastadol tan erledigaeth, eto darfu iddynt barhau hyd amser y brenin hwn, dros y'nghylch 150 o flynyddoedd ar ol amser Wicliff ei hun: darfu iddynt yn awr ddangos eu penau yn fwy hyf nac o'r blaen, yn gymaint a bod pŵer y Pâb wedi ei fwrw i lawr yn y deyrnas. Y pryd hwn yr oedd y deyrnas wedi ymranu yn ddwy ran; canys y Wicliffiaid a fynent wneuthur diwygiad crefydd yn ol rheol yr ysgrythur: eraill a fynent lynu fyth wrth grefydd eu henafiaid, sef y grefydd Babaidd; ac ymosodnet hyd eithaf eu gallu i wrthwynebu ac atal y cyfryw ddiwygiad. O'r meddwl hyn yr oedd y rhan fwyaf o'r wlad eto; canys er nad oeddent ar fedr talu dim rhenti mwyach i'r Pâb, etto tybied yr oeddent mai y grefydd Babaidd oedd y wir grefydd. Nid yn unig y'mysg y bobl gyffredin, eithr hefyd yn y llŷs brenhinol, ac y'mysg cyngoriaid y brenin, yr oedd yr ymrafael y'nhgylch materion crefydd:—Yr oedd y rhan fwyaf o'r cyngoriaid yn fawr eu zel dros Babyddiaeth; ac felly yn wir yr oedd y brenin ei hun: canys er darfod iddo sori a digio wrth y Pâb, eto ni thybiai yn gymwys, o achos hyny, fwrw ymaith y grefydd Babaidd: eithr digwyddodd fod yn mysg ei gyngorwyr ef ddau wr hynod iawn oeddent yn ffafrio y diwygiad, sef, doctor

Thomas Cranmer, arch-esgob Canterbury, a'r arglwydd Thomas Cromwel, Iarll Essex. Yr oedd ganddo barch arbenig i'r ddau wr hyn; ac er nad oedd yn gallael cytuno â hwynt yn eu hopiniynau, o blegid crefydd mewn amryw bethau, eto hwy a gaent eu gwrando ganddo o flaen pob rhyw gyngoriaid pwy bynag. Felly y ddau wr yma a ddangosasant i'r brenin, gan ddarfod iddo fwrw ymaith bŵer y Pâb, y dylai hefyd osod heibio yr aneirif seremoniau Pabaidd, y rhai oeddent yn llygru addoliad Duw; yn gymaint a'u bod yn gwbl o ddychymyg ac appwyntiad y Pâb, heb y warant leiaf iddynt yn yr ysgrythyrau sanctaidd. Y brenin er nad oedd yn dra boddlon i wneuthur dim cyfnewidiad mewn crefydd, eto fe ganiatäodd, i'r gwyr hyn wneuthur ychydig ddiwygiad mewn rhai pethau. Felly y bwriwyd i lawr yr amser hwnw amryw o'r hen seremoniau Pabaidd; a'r Bibl hefyd a drowyd i'r Saesonaeg a'r Gymraeg, canys o'r blaen yr oedd yn yr iaith Lading yn unig.

Yn gymaint a bod gallu ac awdurdod y Pâb wedi cael eu bwrw i lawr yn y deyrnas, yr oedd y brenin yn y cyfryw amgylchiadau, fel yr oedd dan fath o angenrheidrwydd i wneuthur mwy o rwyg yn y grefydd Babaidd nag oedd ef ei hun yn ei bwrpasu ar y cyntaf; canys wedi iddo, fel y crybwyllwyd, anfoddloni a digio y Pab, dechreuodd y Pab darfu ei fygythion yn ei erbyn; ac o'r diwedd, darfu iddo ei ysgymuno, a gorchymyn ac anog holl dywysogion crêd i gyfodi rhyfel yn ei erbyn, a dwyn ei deyrnas oddi arno, a chymeryd ei ddeiliaid yn gaethweision. Am hyny y brenin a ymosododd i'w

ymddiffyn ei hun a'i deyrnas yn oreu ag y gallodd. Eithr yr oedd un peth angenrheidiol iawn yn ddiffyg arno yr amser hwnw, sef arian, tu ag at godi gwyr a gwneuthur llongau rhyfel, a thu ag at barotoi y cyfryw bethau eraill ac oeddent berthynol ar y fath achos.

Pan oedd y brenin yn y cyfyngder hwn, arglwydd Thomas Cromwel a'i cyngorodd i *seizio* ar y monachlogydd a'r holl diroedd a berthynai iddynt, a'u cymeryd yn ei law ei hun, a'u gwerthu tu ag at gael o hono fodd i'w ddianghenu. Y brenin oedd lawn foddlon i ddilyn y cyngor; ac felly fe roddodd i arglwydd Cromwel bŵer a chomisiwn i fyned i weled yr holl fonachlogydd trwy y deyrnas, ac i holi a chwilio pa fath fuchedd oedd y monachod yn ei fyw: felly, ymchwiliad manwl iawn a wnaed yr amser hwnw; ac fe ganfyddwyd, nad oedd yno ddim ond seguryd, godineb, meddwdod, ymrysonau, drygioni, trythyllwch, ac aflendid; ie, pechod y Sodomiaid hefyd oedd yn rhugl yn eu plith. Y cyfryw a'r rhai'n oedd cyneddfau y monach-dai tu ag at gynhaliaeth y dynion hyn: eithr y brenin a gafodd gan y *parliament* uno gyd ag ef i wneuthur cyfreithiau, trwy ba rai y darfu i'r tiroedd a'r holl gyfoeth a berthynai i'r monachlogydd gael eu rhoddi i'r brenin, a'u gosod yn gwbl yn ei berchenogaeth ef. Fel hyn, gyrwyd o'r diwedd y monachod ofer o'u lochesau; a'r monachlogydd (y ffauau y'mha rai y buasai y pryfaid hyn dros amryw oesoedd yn difa ffrwyth y tir i feithrin eu haflendid) a dynsgwyd hyd y llawr; er bod peth gweddillion o honynt, sef darnau o'r parwydydd i'w gweled mewn rhai manau hyd y dydd hwn. Yr oedd

yn y deyrnas, yr amser hwnw, y'nghylch saith gant o fonachlogydd a phrior-dai; a swm y rhenti a berthynai iddynt oedd o ddeutu pymtheg can' mil o bunnoedd yn y flwyddyn, heblaw gwerth pedwar can' mil o bunnoedd o ddodrefn a gafwyd yn y monachlogydd. Yr oedd hefyd, gapeli, *colleges*, *cantries*, a lleoedd yr oedd yr offeiriaid Pabaidd yn canu gyda'r organ, ac yn dywedyd *massau*; yr oedd o'r rhai'n y'nghylch tair mil: y rhai hyn hefyd a roddwyd, gan mwyaf, i'r brenin trwy gyfraith. Yr holl diroedd a'r golud a gafodd y brenin yn y modd hwn oddi wrth y monach-dai Pabaidd, efe a'u gwerthodd i wŷr mawrion y wlad, oddieithr yr hyn a gyfranodd rhwng ei gyfeillion a'i weision. Hyn a fu y'nghylch y flwyddyn o oed ein Harglwydd, 1539, a'r ddegfed ar hugain o deyrnasiad Harri VIII.

Y Pab, megis y dangosasom uchod, a amcanodd beri i holl benaethiaid Europe droi eu harfau yn erbyn Harri, y pryd hwn; eithr efe a gafodd weddoldeb o lonyddwch gan bawb o'r brenhinoedd oddi amgylch, ond darfu i rai o'i ddeiliaid ei hun gyfodi mewn gwrthryfel yn ei erbyn, trwy anogaeth yr offeiriaid, y rhai oeddent yn fawr eu gelyniaeth a'u casineb tu ag ato, o blegid yr hyn a wnaethai; eithr hwy a gawsant yn ebrwydd eu gorchfygu a'u gostegu.

Yr ydys yn gyffredinol yn cyfrif amser y diwygiad o deyrnasiad Harri VIII. Eithr yn ddiau ni's gwnaeth efe ddim ond megis parotoi y ffordd i'r rhai a ddaethant i deyrnasu ar ei ol ef. Am y brenin hwn, ni's gallwn lai na barnu y gellir yn dra chymwys ei gyffelybu i *Jehu* brenin Israel gynt, 2 Bren. 10. yr hwn

a ddechreuodd ddangos mawr zel, megis pe buasai yn ei fwriad wneuthur diwygiad hollawl yn ei deyrnas: eithr er darfod iddo ddistrywio Baal allan o Israel, eto fe dramgwyddodd wrth y lloi aur oedd yn Dan a Bethel, ac ni throdd oddiwrth bechodau Jeroboam yr hwn a wnaeth i Israel bechu. Felly Harri VIII. er iddo fwrw i lawr bŵer y Pab, a gwrthod bod yn gaethwas iddo, eto fe lynodd wrth ei grefydd ef, gan mwyaf, hyd y diwedd. Rhai seremoniau Pabaidd a fwriodd ymaith; eithr am y pethau mwyaf sylweddol yn y grefydd Babaidd fe'u gadawodd i sefyll. Darfu iddo ganiatau unwaith i'r bobl gyffredin gael yr ysgrythur yn eu iaith eu hun, eithr wedi hyny fe a'i gwaharddodd iddynt: ac o ddechreu ei deyrnasiad ef hyd y diwedd, yr oedd rhai ar amserau yn cael eu bwrw i farwolaeth, am fod yn chwenych dilyn unig reol gair Duw, a llwyr ymwrthod â'r grefydd Babaidd. Ei was ffyddlon yr arglwydd Thomas Cromwel, a ddarfu iddo o'r diwedd osod i farwolaeth hefyd, o ran boddio'rPabyddion gwaedlyd oedd yn ei gyngor ef: felly, gallwn ddywedyd i'r brenin hwn fyw a marw yn hytrach yn Babydd nac yn Brotestant. Er iddo, fel y crybwyllwyd, ddistrywio y monachlogydd, yn y rhai yr oeddid yn dyfal weddio dros yr eneidiau yn y purdan, eto efe ei hun wrth farw a adawodd chwe' chant o bunnoedd yn y flwyddyn i bwrcasu gweddiau a *massau* tu ag at gael o'i enaid ebrwydd waredigaeth allan o'r tân hwnw. Efe a fu farw yn y flwyddyn 1547, gwedi teyrnasu y'nghylch deunaw mlynedd ar hugain. Bu iddo chwech o wragedd, sef, 1 Cathrin, o'r hon y ganwyd

y dywysoges Mari. Ni a ddangosasom eisoes y modd y bwriodd efe y wraig hon ymaith trwy yscar. 2 Ann Bulein, mam y frenhines Elizabeth; hon a fwriodd efe i farwolaeth o achos rhyw eiddigedd a ddygasai o'i phlegid; eithr yr ydys yn tybied mae'r achos penaf oedd malais ei gynghorwyr Pabaidd ef tu ag ati, am ei bod yn ffafrio y diwygiad, yn hytrach na'i bod yn euog o'r cyfryw bethau oeddid yn eu gosod yn ei herbyn. 3 Jane Seymor; iddi hi y ganwyd mab a elwid Edward, ar enedigaeth yr hwn y bu farw. 4 Ann o Claves; fe'i bwriodd hi ymaith, a'r unig achos oedd, am nad oedd yn ei hoffi. 5 Cathrin Howard; hon yn ddiau a halogodd ei wely trwy odineb ffiaidd a chywilyddus, ac am hyny hi a ga'dd ei gosod i farwolaeth. 6 Y ddiweddaf oedd Catherin Par, yr hon wedi hyny fu wraig i Thomas Seymor, brawd Jane Seymor, y dryedd wraig i'r brenin. Ei blant a grybwyllwyd, sef Mari, Elizabeth, ac Edward, a deyrnasasant ar ei ol, y naill ar ol y llall.

Ar ol marwolaeth Harri VIII. ei fab Edward a etifeddodd y goron dan enw Edward VI. Nid oedd ond y'nghylch deng mlwydd oed pan ddechreuodd deyrnasu; eithr yr oedd yn gall a synhwyrol, y'mhell uwchlaw ei oedran. Dechreuodd yn gynar iawn ddangos mawr serch tu ag at air Duw, a zel ragorol at wir grefydd. Ei dad ar ei farwolaeth a osododd un-ar-bymtheg o wyr penaf y deyrnas i fod yn gyngorwyr iddo, hyd oni b'ai yn ddeunaw oed: y ddau benaf oedd doctor Thomas Cranmer, archesgob Canterbury, ac Edward Seymor, duc *Somerset*, ewythr y brenin frawd ei fam. Y

ddau wr hyn oeddent yn wastadol yn ffafrio y diwygiad: ac er bod bagad o'r un-ar-bymtheg yn chwenych sefyll i fynu i amddiffyn y grefydd Babaidd, eto, yn gymaint a bod y ddau wr yma yn flaenoriaid, ac â'r pwer mwyaf yn eu dwylaw, a bod y brenin yntef yn wir ewyllysgar i gyd-uno â hwynt, yr oedd yn awr gyfleustra i ddwyn yn mlaen y diwygiad i berffeithrwydd.

Pwer ac awdurdod y Pab a osodasid i lawr o'r blaen. Yn awr fe ymosodwyd i lwyr ddiwreiddio ei grefydd ef, ac i arllwys y wlad o'r eulun-addoliaeth a'r holl ffieidd-dra sydd yn cyd-ganlyn y grefydd Babaidd. Y peth cyntaf a wnaed, oedd, anfon cenhadon at yr esgobion a'r holl wŷr eglwysig trwy'r deyrnas, i orchymyn iddynt, yn enw'r brenin a'i gynghoriaid, fod yn astud ac yn ddiwyd i ddysgu'r bobl yn y wir wybodaeth o Dduw; ac iddynt, o hyny allan, adael y cyfryw seremoniau ofer, coel-grefyddol, oeddid o'r blaen yn eu harfer y'ngwasanaeth Duw; yn enwedig, na byddai iddynt addoli delwau mwyach: ac am y Sabboth, rhoddwyd iddynt gaeth-orchymyn, am gymeryd mawr ofal i'w gadw yn barchedig ac yn grefyddol, megis y gweddai. Hyd yn hyn, yr ysgrythur a'r ffurf o weddiau oeddent mewn iaith ddieithr sef y Llading: yn awr fe ddarparwyd yr ysgrythur ac esponiad o honi yn iaith gyffredin y wlad. Rhai gweddiau hefyd a drowyd i'r ieithoedd Saesneg a'r Gymraeg, a gorchymynwyd iddynt gael eu harfer trwy'r holl deyrnas, er adeiladaeth y bobl. Yn gymaint a bod dynion eto dan dywyllwch erchyll o anwybodaeth; ac am yr offeiriaid a'r gwyr eglwysig, hwynthwy oeddent dra chywilyddus o rau eu hang-

hymwysder i'r alwedigaeth yr oeddent ynddi; o ran eu gwybodaeth nid oeddent fawr well na'r bobl gyffredin, ond o ran eu moesau yr oeddent, amryw o honynt, yn llawer gwaeth; am hyny fe wnaed llyfr o bregethau, yn cynwys athrawiaeth iachus, sef llyfr yr *Homiliau:* hwn a ddanfonwyd allan ac a wasgarwyd trwy yr holl deyrnas, gan orchymyn i'r offeiriaid ddarllen rhyw ran o hono i'w plwyfolion bob sabboth. Hyn a wnaed o angenrheidrwydd, hyd oni byddai iddynt allu darparu rhai a fyddent o ran dysg a doniau yn fwy abl a chyfaddas i waith y weinidogaeth.

Yn amser Harri VIII. ac amryw o'r brenhinoedd eraill a fuasai o'i flaen ef yn Lloegr, fe wnaed cyfreithiau chwerwon iawn yn erbyn y Wicliffiaid, a phawb a ymwrthodent â'r grefydd Babaidd. Y cyfreithiau hyny a ddirymwyd ac a dorwyd trwy *barliament*, a rhoddwyd cyflawn ryddid i bawb ddilyn a glynu wrth reol yr ysgrythur yn unig. Hyd yn hyn yr oedd yr offeiriaid yn cymeryd sacrament swper yr Arglwydd bob sabboth, ac yn gwneuthur rhyw fath o aberth o honi, megis y dangoswyd o'r blaen; ond y cyffredin bobl, pan gyfrenid yr ordinhad hon iddynt, yr hyn oedd yn unig unwaith yn y flwyddyn, y cwpan a attelid oddi wrthynt. Y pryd hwn gorchymynwyd iddynt gael rhyddid i yfed o'r cwpan, ac ordeiniwyd na byddai i'r offeiriaid gymeryd mo'r sacrament hwn yn neilltuol mwyach, eithr mewn cymundeb â'u plwyfolion. Yr offeiriaid a'r gwyr eglwysig, y rhai nid oedd gyfreithlon iddynt o'r blaen briodi, a gawsant ryddid i ymroddi mewn stat briodas, yr hon

sydd anrhydeddus yn mhawb, Heb. 13. 4. Rhoddwyd hefyd orchymyn i fwrw ymaith lun y groes a'r holl ddelwau o'r llanoedd, y rhai a fuasant dros amryw oesoedd yn achlysur i ddelw-addoliaeth a choel-grefydd.

Erbyn hyn yr oedd y wlad wedi cael ei phuro, mewn mesur mawr, oddiwrth ffieidd-dra y grefydd Babaidd; eithr yr oedd y bobl eto yn ddiffygiol iawn mewn perthynas i un peth sydd sylweddol i grefydd, sef yr ordinhad o weddi. Y gweddiau oeddid yn arfer yn gyhoeddus yn y llanoedd, oeddent gynwysedig yn llyfr y *mass* neu'r *common-prayer* Pabaidd. Yr oedd gan y bobl gyffredin hefyd ffurf o weddiau i'w harferyd yn neillduol, wrth y rhai y gweddient at Dduw, ac at y seintiau, (eithr at y seintiau fynychaf;) a'r gweddiau yma oeddent oll yn Llading: felly, yn fynych, pan yr ymosodent i weddio at Dduw, digwyddai iddynt ddywedyd gweddi a berthynai i ryw sant: a rhai a ddywedent y *pater noster* neu weddi'r Arglwydd pan oeddent yn tybied eu bod yn gweddio at y forwyn Fair: eraill, wrth ddywedyd yr *afe Maria*, &c. oeddent yn credu eu bod yn gweddio at Grist ei hun. Fel hyn yr oeddent yn ymbalfalu; fe farnwyd, gan hyny, yn beth tra angenrheidiol fyned yn nghylch puro a diwygio yr hen lyfr *common-prayer* Pabaidd; yr hyn a wnaethant fel hyn. 1 Rhai gweddiau a gymerasant yn gyfan gwbl fel yr oeddent o'r blaen yn llyfr y *mass*. 2 Eraill a gymerasant mewn rhan, gan wneuthur y cyfryw gyfnewidiad ag oeddent yn farnu yn berthynol. 3 Rhai gweddiau newydd a chwanegwyd. 4 Y cwbl oll a drowyd i'r Saesonaeg a'r

Gymraeg. Hwn yw llyfr y *common-prayer*, neu'r ffurf-weddiau cyffredin a arferir yn awr.

Y diwygiad hwn a wnaed o'r flwyddyn 1547, hyd y 1551; sef yn y pedair blynedd cyntaf o deyrnasiad Edward VI. Er i'r brenin a'i gynghoriaid, a'r *parliament*, gyduno i wneuthur y diwygiad yma, eto yr oedd y rhan fwyaf o'r wlad yn eu calonau yn casau y peth, ac yn chwenych glynu fyth wrth y grefydd a dderbyniasent oddiwrth eu hynafiaid, yn enwedig yr offeiriaid; hwynt hwy nis gallent oddef i'r cyfnewidiadau a wnaethid gael y cyfryw ergyd marwol; nid oedd ryfedd eu bod yn anesmwyth iawn, canys nis gallent lai na deall y byddai iddynt, o hyny allan, golli y budd a'r elw oedd yn digwydd iddynt trwy weddio dros y meirw, trwy wrando cyffes y bobl, a thrwy'r amryw ffyrdd eraill a ddygant elw i'r offeiriaid Pabaidd: am hyny parod oeddent, ar yr achlysur hwn, i waeddi allan fel yr Ephesiaid gynt am eu duwies Diana, Act. 19. 23. Ymroi a wnaethant i anog y bobl i wrthwynebu y cyfnewidiad oedd yn cael ei wneuthur yn y grefydd; felly y darfu iddynt eu cyffroi i godi mewn gwrthryfel yn erbyn y brenin, mewn amryw fanau o'r deyrnas. Yn Norfolk ymgasglodd y'nghyd o'r gwerinos y'nghylch ugain mil i wneuthur terfysg; tair mil yn Yorkshire; eithr y terfysg mwyaf ofnadwy oedd yr hwn a gyfodwyd yn Devonshire; yno, y cyffredin bobl a ymgasglasant yn llu mawr iawn, ac a gawsant nid yn unig yr offeiriaid, ond hefyd rai o wyr mawrion y wlad i'w hanog ac i fyned o'u blaen. Danfonasant at y brenin ysgrifen yn cynwys amryw

bynciau, i hysbysu pethau oedd raid iddynt hwy gael eu boddloni o'u plegid, cyn y gosodent i lawr eu harfau. Eu gofyniadau oeddent y cyfryw a'r rhai'n: 1 Hwy a fynent i lyfr y *mass* gael ei osod i fynu drachefn, a'r holl weddiau yn Llading, fel gynt. 2 Hwy a fynent beri i'r offeiriaid fyw yn sengl. 3 Mynent i'r Bibl Saesonaeg a Chymraeg gael eu galw yn ol, ac i'r ysgrythur fod yn yr iaith Llading yn unig. 4 I'r offeiriaid gael caniatâd i weddio dros yr eneidiau yn y purdan. 5 I'r naill haner o diroedd y monachlogydd gael eu rhoddi yn ol drachefn tu ag at adeiladu o newydd ryw nifer o fonachlogydd y'mhob sîr; ïe hwy a fynent i'r grefydd Babaidd gael ei gosod i fynu eto yn y wlad fel y buasai o'r blaen.

Mewn ateb i'r pethau hyn, anfonodd y brenin a'i gynghoriaid genadwri atynt, i'w cynghori i osod i lawr eu harfau, a myned i'w cartrefi mewn heddwch; ac am y pethau yr oeddent yn eu gofyn, fe ddangoswyd yn helaeth pa mor ffol ac afresymol oedd pob un o honynt: yn enwedig am y *mass* neu'r *common-prayer* Pabaidd, yr hwn oeddent yn chwenych ei gael, fe ddywedwyd wrthynt fel hyn.*

Eithr ni's gallodd y brenin, na thrwy resymau, na thrwy ymbil, na thrwy fygythion ych-

* "As for the service in the English tongue, it hath manifest "reasons for it; and yet perchance seemeth to you a new service, "and indeed is none other but the old: the self same words in "English which were in Latin, saving a few things taken out, so "found that it would have been a shame to have heard them in "English, as all they can judge which list to report the truth. If "the service in the church was good in Latin, it remaineth good in "English; for nothing is altered but to speak with knowledge what "was spoken with ignorance, and to let you understand what is "said for you to the intent you may further it with your own devotion."

waith, dycio gyda'r bobl, i ymfoddloni a bwrw eu harfau i lawr; am hyny gorfu iddo ddanfon byddin o wŷr dewisol yn eu herbyn, y rhai a syrthiasant arnynt, ac wedi gwneuthur lladdfeydd mawrion yn eu plith, a'u gyrasant ar wasgar. Y pryd hwn cafodd holl wrthwynebwyr y diwygiad eu gorchfygu a'u darostwng; a phawb a ewyllysient, a gawsant gyflawn ryddid ac anogaeth i wasanaethu Duw yn ol ei air.

Yn awr y mae yn gorwedd arnom ddangos y modd y dechreuodd yr a'nghytundeb sydd yn y deyrnas hon, y'mysg y Protestaniaid, o blegid crefydd. Yn gyntaf, gan hyny, y mae i ni ystyried, ddarfod i'r rhai oedd yn ffafrio y diwygiad ac yn ymwrthod â'r grefydd Babaidd a'nghytuno ac ymrafaelio yn eu mysg eu hunain, trwy yr holl deyrnas. Yr oeddent yn cytuno yn hollol ac yn ewyllysgar i fwrw ymaith eulun-addoliaeth a holl ffieidd-dra y grefydd Babaidd; eithr nid allent gytuno o blegid y modd y sefydlent y diwygiad. Yr ymrafael rhyngddynt oedd, pa un a wnaent ai bwrw ymaith holl ddefodau a seremoniau y grefydd Babaidd yn gyfan gwbl, neu yntau cadw rhai o honynt yn oestadol. Amryw oeddent yn barnu, y gellid ac y dylid cadw cynifer o'r hen seremoniau Pabaidd ag a fyddent wasanaethgar i harddu yr addoliad: eraill a fynent gwbl ymwrthod â'r holl seremoniau Pabaidd, a glynu wrth wir ac unig reol gair Duw; ac ni's mynent arferyd dim math o ddefodau yn y grefydd Grist'nogol, oddieithr bedydd a swper yr Arglwydd yn ol gorchymyn a siampl Crist a'i apostolion.

*Yr ym*ddadl a'r ymryson hwn y'nghylch y

seremoniau, a ddechreuodd gyntaf rhwng Mr. John Hooper a Mr. Nicholas Ridley, yn y flwyddyn 1550, yn y bedwaredd flwyddyn o deyrnasiad Edward VI. Mr. Ridley oedd yn esgob yn Llundain, a Mr. Hooper oedd wr dysgedig iawn ac yn bregethwr rhagorol; o herwydd hyny y brenin oedd yn ewyllysio ei wneuthur ef yn esgob yn Nghaerloyw. Mr. Hooper oedd yn foddlon i gymeryd yr esgobaeth, eithr yr oedd yn cashau y seremoniau oeddid yn arfer wrth ordeinio yr esgobion, a'r trwsiad oeddent yn ei wisgo: ond Mr. Ridley, ac eraill o'r esgobion, ni fynent ordeinio mo hono heb y seremoniau hyny. Y brenin, pan glywodd y peth, a ddanfonodd at yr esgobion i orchymyn iddynt ordeinio Mr. Hooper fel yr oedd ef ei hun yn ewyllysio; eithr hyn ni's tyciodd, canys hwy a aethant y'mlaen nid yn unig i'w gymell a'i gynghori trwy resymau, ond hefyd i fygwth ei gospi yn chwerw iawn oni chymerai ei ordeinio trwy'r seremoniau: felly yn gyntaf peth efe a waharddwyd i bregethu, a bu ddistaw tros flwyddyn. Yr oeddent yn pwrpasu, os nid ufuddhai, ei gospi eto yn chwerwach. O'r diwedd, darfu i Mr. Hooper ymddarostwng yn erbyn ei ewyllys i gymeryd ei ordeinio yn y modd y mynent hwy eu hunain: ac am y trwsiad esgob, sef yr ysgarlad, y lliain main a'r cap pedwar-ongl, &c. hwy a foddlonasant iddo eu gwisgo yn unig unwaith yn gyhoeddus. Ei wrthwynebwr penaf ef, yn yr achos yma, oedd Ridley; efe yn benaf a barodd i Mr. Hooper gael ei drin yn y cyfryw fodd: eithr y'nghylch pum' mlynedd ar ol hyny, pan ddaeth y frenhines Mari i deyrnasu,

hwy a gawsant eill dau eu gosod i farwolaeth, trwy gael eu llosgi yn tân, am eu crefydd. Y pryd hwnw, ychydig cyn eu marwolaeth, pan oeddent eto yn y carchar, Hooper y'ngharchar Llundian, a Ridley yn Rhydychain, darfu i Ridley ysgrifenu at Mr. Hooper yn garedig ac yn ostyngedig iawn: yn ei lythyr y mae y cyfryw ymadroddion a'r rhai'n.*

Fel hyn y dechreuodd yr a'nghydfod gyntaf thwng y Protestaniaid yn y deyrnas yma, ac fel hyn y dywedai yr esgob Ridley o blegid yr a'nghytundeb a fuasai rhyngddo ef a'i frawd Hooper y'nghylch y seremoniau. Hwy a gawsant eill dau, fel y crybwyllwyd, eu bwrw i farwaeth, megis y cafodd llawer eraill, pan ddaeth y frenhines Mari i deyrnasu. Tra parhaodd teyrnasiad y brenin Edward VI. y diwygiad a gafodd ei ddwyn y'mlaen: ond yr oedd yn rhwystr nid bychan, fod y diwygwyr eu hunain yn ymryson fel hyn y'nghylch pethau bychain a distadl.

Heblaw Ridley, yr oedd amryw eraill, a gyfrifid yn wŷr dysgedig yr amser hyny, yn sefyll i fynu dros y seremoniau: ac o'r tu arall, yr oedd amryw wŷr hynod a dysgedig o'r un farn a Mr. Hooper yn erbyn y seremoniau, megis Mr. John Rogers, Mr. Philpot, Mr. Tyms, yr enwog Mr. Bradford, Dr. Rowland Taylor,

* "We do throughly agree and wholly consent together in those "things which are the grounds and substantial points of our religion, "against which the world so furiously rageth in these our days; how-"soever, in time past, in certain by-matters and circumstances of reli-"gion your wisdom and my simplicity, I grant, hath a little jarred, "each of us following the abundance of his own sense and judgment. "Now I say, be you assured, that even with my whole heart, God "*is my witness*, in the bowels of Christ I love you in truth."

Peter Martyr, Martin Bucer, a llawer eraill. Gwr o Germani oedd Mr. Bucer, ac o ran ei synwyr a'i ddysg fe gyfrifid yn un o'r rhai penaf yn Europe. Esgobion Lloegr a ofynasant ei farn o blegid y *common-prayer* a'r seremoniau. Ei farn ef oedd, fod y diwygiad yn anmherffaith, ac y dylai y *common-prayer* a'r ddisgyblaeth eglwysig y'Nghymru a Lloegr gael eu diwygio y'mhellach. Mr. Bucer hefyd a ysgrifenodd lyfr i'r un perwyl, yr hwn a ddarfu iddo gyflwyno mewn ffordd o anrheg i'r brenin Edward VI. Y brenin, pan ddarllenodd y llyfr, oedd yn foddlon i ddilyn yr hyfforddiadau a'r cynghorion oedd ynddo; a darfu iddo osod i lawr mewn ysgrifen â'i law ei hun, y modd yr oedd efe yn arfaethu dwyn yn mlaen y diwygiad i berffeithrwydd. Yr ysgrifenadau hyn sydd i'w gweled eto, ac y maent yn dangos fod y brenin yn bwriadu, pe cawsai amser, buro'r grefydd Brotestanaidd oddiwrth holl lefain eglwys Rhufain: yn enwedigol, ei fod yn pwrpasu gosod i fynu ddisgyblaeth fwy manwl yn y deyrnas, i gadw allan ddynion llygredig anfucheddol, rhag dyfod i fwrdd yr Arglwydd, fel yr oeddent o'r blaen, ac y maent hyd y dydd hwn: eithr efe ni bu fyw i ddwyn i ben y pethau a arfaethasai, canys ar fyr amser ar ol hyny fe fu farw. Ar ei farwolaeth ef, y diwygiad nid aeth y'mhellach; canys megis y gadawodd efe, felly y darfu i bethau sefyll a pharhau hyd heddyw, oddieithr rhyw gyfnewidiad a wnaed mewn rhai pethau bychain na haeddant eu crybwyll:—felly yr ymrafael y'nghylch materion crefydd, a ddechreuodd yn ei deyrnasiad ef, ni's gallwyd eto

mo'i ostegu. Yn y cyfamser, ein dyledswydd yw cydnabod mawr drugaredd a ffafr y Goruchaf tu ag at ein gwlad, ddarfod iddo gyfodi un i ddwyn y'mlaen ddiwygiad crefydd i'r mesur ag y daeth; diamau yw, tra parhao y wir grefydd yn Mrydain, y gwneir coffâd barchedig o Edward VI. yr hwn a wnaeth fawr wasanaeth i'w genedlaeth mewn ychydig amser; canys ni theyrnasodd ond chwe' blynedd a phum' mis. Bu farw yn y flwyddyn 1553.

Yn nesaf at Edward VI. ei chwaer Mari a osodwyd i eistedd ar deyrn-gadair Lloegr, merch oedd i Harri VIII. o'i wraig Catherin, yr hon a fwriasai ymaith trwy ysgar. Ni bu dywysog erioed yn yr ynys yma yn fwy ei zel dros y grefydd Babaidd na'r frenhines hon: hi a addawsai wrth gael ei choroni, roddi rhyddid i'r grefydd Brotestanaidd, yr hon addewid ni's cadwodd yn y mesur lleiaf. Eithr yr oedd y Protestaniaid eto heb ddysgu pa fodd yr oedd iddynt ddelio â thywysogion Pabaidd.

Hi a osododd i fynu Babyddiaeth o newydd, ac a adferodd bwer y Pâb yn y wlad, yr hwn a fwriasai ei thad ymaith. Hi a gawsai ei dwyn i fynu yn y grefydd Babaidd o'i mebyd, ac o ran ei zel a'i hystyfnigrwydd i gynal i fynu goel-grefydd eulun-addoliaeth eglwys Rhufain nid oedd mo'i chyffelyb. Megis yr oeddid yn cyffelybu Edward VI. i Josiah brenin Juda; felly y gellid, yn berthynasol iawn, gyffelybu hon i Jezebel gwraig Ahab.

Y peth cyntaf a wnaeth y frenhines Mari ar ol dyfod i'r goron, oedd rhoddi allan waharddiad cyffredinol i'r pregethwyr Protestanaidd *trwy'r holl* deyrnas, na phregethent mwyach;

a rhoddi cenad a rhyddid i'r offeiriaid Pabaidd i bregethu lle mynent. Yn nesaf, fe wnaed cyfreithiau, trwy *barliament*, i ddiddymu y cyfreithiau a wnaethid yn nheyrnasiad Edward VI. mewn ffafr i'r grefydd Brotestanaidd. Cyfreithiau eraill a wnaed yn awr i osod i fynu yr addoliad Pabaidd: eithr ni safwyd yma chwaith, ond aethant y'mhellach i wneuthur cyfreithiau i lwyr ddifetha a distrywio y Protestaniaid allan o'r wlad. Yr oedd cyfraith wedi cael ei gwneuthur yn amser Harri IV. yn y flwyddyn 1409, yr hon a elwid *statuteex officio;* swm y gyfraith hon oedd fel hyn, cynifer oeddid yn disgwyl eu bod yn dal dim opiniynau y'ngwrthwyneb i'r grefydd Babaidd, yr oedd gan yr esgobion bwer i beri i'r cyfryw rai ymddangos o'u blaen hwy i ateb i'r cyfryw gwestiynau ag a ofynid iddynt: ac os digwyddai i'r dynion hyny trwy eu hatebion ddangos eu bod yn gwyro oddiwrth y grefydd Babaidd, yr oedd gan yr esgobion bwer i beri i Sirydd y sir neu Faer y dref ddyfod i gynorthwyo, tu ag at basio barn ar y dynion hyn. Felly, wedi darfod eu holi yn fanylach, hwy a gaent eu declario yn hereticiaid; a'r esgobion a'u rhoddent i fynu i'r Maer neu'r Sirydd i'w gosod i farwolaeth. Y gyfraith hon a gysgasai dros rai blynyddoedd, sef er y bedwaredd flwyddyn ar hugain o deyrnasiad Harri VIII. eithr y pryd hyn, sef yr ail flwyddyn o deyrnasiad Mari, hi a adnewyddwyd drachefn:—cyfraith lem a gwaedlyd ydoedd, ac yn ebrwydd hi a osodwyd ar waith. Yn gyntaf peth fe gymerwyd mewn llaw y blaenoriaid o'r grefydd Brotestanaidd, sef y pregethwyr a'r gwyr dysgedig, megis

Dr. Cranmer, Dr. Ridley, Mr. Hooper, Mr. Rogers, Mr. Bradford, a'r cyfryw; y rhai cyntaf a ga'dd eu bwrw i'r tân oedd Mr. Rogers, a Mr. Hooper yr hwn a rag-ddywedasai ei farwolaeth* chwe' blynedd o'r blaen. Mr. Rogers a losgwyd yn Llundain, a Mr. Hooper yn Nghaerloyw, lle buasai dros amryw flynyddoedd yn llafurio yn y weinidogaeth. Yn mhen ychydig ar ol hyn, cafodd Mr. Ridley, a Mr. Latimer eu gosod i farwolaeth yn Rhydychain, a Dr. Fferar yn Nghaerfyrddin, a llawer eraill trwy'r deyrnas. Dr. Cranmer a fwriwyd i garchar yn Rhydychain. Darfu iddo ef unwaith, trwy hudoliaeth yr offeiriaid Pabaidd, osod ei law wrth ysgrifen yn cynwys ymwrthodiad a llwyr ymwadiad â'i grefydd. Hyn a fu yn achlysur o orfoledd mawr i'r Pabyddion, ac o dristwch i'r Protestaniaid; eithr Duw a fu drugarog tu ag ato, canys fe adferwyd drachefn, ac a wnaeth gyffes gyhoeddus o'i edifeirwch gyda thristwch ac wylofain mawr iawn, gan ddywedyd, iddo osod ei law wrth ysgrifen i wadu 'r gwirionedd yn erbyn ei gydwybod. Tra amlwg oedd i bawb pa mor ddirfawr yr oedd wedi ymddigio wrtho ei hun am y peth a wnaethai. Nis gallai lai na dangos ei lîd tu ag at y llaw a fuasai yn offerynol i wneuthur y mawr ddrwg hwnw; canys yr oedd yn ymroi pan elai i'r tân, y cai hi losgi yn gyntaf un o'i holl aelodau. A phan ddaeth yr amser iddo ddioddef, wedi ei

* Yn nechreu teyrnasiad Edward VI. Mr. Hooper oedd yn Switzerland: ac fe ddywedodd wrth Mr. Bulinger pan oedd yn ymadael *y cai glywed* ryw amser gaffael o hono ef ei losgi yn tàn am ei *grefydd*.

ıo wrth y post ac enyn y tân o'i amgylch, ldaeth y tân o fewn cyraedd iddo, estyn- ıllan ei fraich ddehau ac a'i daliodd yn y , gan fynych ddywedyd fel hyn, "O law g anheilwng; y llaw anheilwng yma!" ' ni bu nepell hyd oni ddarfu i'r tanllwyth fynu ei holl gorph. Fel hyn y darfu i'r hyr enwog Thomas Cranmer, yn y diwedd, s selio â'i waed y grefydd dros yr hon y bu- ldadleuwr mor hynod yn amser ei fywyd. Pabyddion, wedi gwneuthur y dihenydd o'r pregethwyr, a aethant yn nesaf i ryd mewn llaw y cyffredin bobl: ar ol ıa'r bugeiliaid, ymosodent i wneuthur ıith y'mysg y praidd. Felly, dyfal chwilio ıethant am y Protestaniaid, trwy yr holl ıas; a chynifer a gaent, hwy a gipid ac ygid o flaen yr esgobion a swyddogion i'w holi; ar sawl a barhaent yn wrol yn ffes o'r gwirionedd, fe roddid barn arnynt ı bwrid i'r tân. Tost ac echryslon oedd y l a wnaed y'mysg pobl Duw yn yr ynys yr amser hwnw:—hwy a losgid o fesur ) a chwech, ie weithiau naw neu ddeg yn tân. Y modd yr oeddid yn eu trin, oedd yn, cymerent bost mawr a gosodent ef i mewn rhyw le amlwg; ac yno y sawl a ıi i ddioddef a gymerid ac a rwymid wrth st hwnw: wedi hyny cludent y'nghyd ddau mawrion o sych-goed o'u hamgylch, ı gosodent a'r dân: felly mewn ychydig y cwbl oll à droid yn lludw. Fel hyn y i lawer cant o eneidiau gwerthfawr gan v esgyn i'r nef mewn fflam dân yn y iau hyny; ac ni chafwyd terfyn o'r llosg-

feydd hyn hyd oni ddarfu i'r Goruchaf yn ei drugaredd weled yn dda atal anadl y frenhines waedlyd hon. Chwerwder a chreulondeb ei theyrnasiad a barodd iddo ymddangos yn hir er na bu ond byr; canys Duw a'i tarawodd fel y bu hi farw, wedi teyrnasu o honi bum' mlynedd a phedwar mis. Hi a briodasai Phylip brenin Spain, lle mae cwrt yr *inquisition* i boeni y Protestaniaid; ac am hyny yr oedd efe yn ddigon parod i gynorthwyo ac i ddwyn y'mlaen y cyffelyb waith gwaedlyd yn Lloegr hefyd. Ei heinioes a'i theyrnasiad a derfynasant yn y flwyddyn 1558.

Wedi myned o'r frenhines Mari i'w lle ei hun, ei chwaer Elizabeth a etifeddodd y goron, yr hon oedd y drydydd o blant Harri VIII. a'r ddiweddaf o hiliogaeth Owen ap Tudur, sef o waedoliaeth y Cymry, a deyrnasodd ar Loegr. Elizabeth, merch oedd o'r eilfed wraig i'w thad, sef Ann Bulein; hi a gawsai ei haddysgu yn y grefydd Brotestanaidd o'i mebyd, ac nid oedd lai ei gelyniaeth hi yn erbyn y grefydd Babaidd nac oedd cariad a zel ei chwaer Mari tu ag ati: am hyny, fel yr oedd y tro hwn yn y deyrnas megis yn fywyd o feirw i'r Protestaniaid, felly o'r tu arall, nid allai yr offeiriaid Pabaidd lai nac edrych yn athrist; ac nid heb achos, canys y pryd hyny yn ddilys y rhoddwyd clwyf marwol i bwer ac awdurdod y Pâb yn yr ynys hon, fel nad allodd efe, na holl ddichellion pyrth uffern osod i fynu y grefydd Babaidd drachefn yn y deyrnas o'r amser hwnw hyd y dydd heddyw.

Y *frenhines* Elizabeth a deyrnasodd bedair *blynedd* a deugain yn llwyddiannus iawn, fel y

mae hi yn cael ei chyfrif y'mysg y tywysogion a'r rheolwyr mwyaf ardderchog a godidog a fu erioed yn gwisgo'r goron yn Lloegr: eithr yn gymaint ac iddi ymwrthod âg eglwys Rufain, y Pâb a osododd a'r waith ei holl gyfrwysdra, ac a arferodd bob rhyw foddion a allai ddychymyg tu ag at ei difetha. Darfu iddo ei hysgymuno megis heretic; mynych y cymhellodd ddynion gwaedlyd i'w lladd trwy fradwriaeth, y rhai a wnaethant lawer cynyg ar gyflawni'r peth; ond yn wastad yn ddidyciant. Am hyny fe amcanodd ei distrywio trwy ffordd arall fwy effeithiol ac ofnadwy, canys anfonodd allan wahoddiad cyhoeddus cyffredinol trwy'r holl wledydd Pabaidd, i roddi cydgynorthwy tu ag at ddistrywio breuhines Lloègr (yr heretices) ac i gymeryd ei theyrnas oddiwrthi. Yr unig rai a ufuddhasant i'r arch hon oedd y Spainiaid: hwy a wnaethant barotoad mawr iawn o wyr a llongau, i gymeryd meddiant o rodd y Pâb, (canys yr oedd y Pâb wedi rhoddi Lloegr i bwy bynag a allent ei gorchfygu:) ac felly wedi darfod o honynt orphen y cwbl ag oedd berthynol ac angenrheidiol i'r cyfryw beth, gosodasant allan gyda bendith a gweddi'r Pâb am eu llwyddiant; eithr hwy a gyfarfuwyd ar y ffordd gan longau y frenhines Elizabeth, ac yn lle gorchfygu a meddiannu teyrnas Loegr, hwy a gawsant y fath ffwyl nad anghofir fyth mo honi yn Spain. Canys o'u holl longau ni ddychwelodd ond ychydig nifer, a'r rhein'y yn ddrylliedig, adref. Yn y cyffelyb fodd y darfu i'r aflwydd gyd-ganlyn holl gynllwynion y Pâb yn erbyn Lloegr, trwy holl deyrnasiad y frenhines hon: ac er bod

eglwys Rufain o'r amseroedd hyny hyd yr awr hon yn dyfeisio ac yn llunio dwfn ddichellion tu ag at adferu y grefydd Babaidd drachefn yn ein gwlad, eto hyd yn hyn, trwy drugaredd y Goruchaf, nis gallasant ddwyn i ben eu hamcanion.

Y dywysoges Elizabeth oedd, fel y dywedasom, wedi cael ei haddysgu yn egwyddorion y grefydd Brotestanaidd o'i hieuengtyd; felly parod oedd i ffafro y diwygiad yr hwn a ddechreuwyd yn amser ei thad, ac a ddygasid yn mlaen yn nheyrnasiad ei brawd Edward VI. am hyny hi a ymosododd yn wrol i ddadwneuthur y pethau a wnaethai ei chwaer Mari, ac i droi stât crefydd yn y deyrnas i'r un dull ag y buasai yn amser ei brawd. Yn gyntaf, gan hyny, darfu iddi fwrw i lawr bwer ac awdurdod y Pâb. Yn nesaf, parodd i'r *common-prayer* neu'r ffurf-weddiau gael eu troi i'r Saesonaeg a'r Gymraeg drachefn. Rhoddodd ryddid ac anogaeth i'r pregethwyr Protestanaidd* i bregethu a dysgu'n gyhoeddus: a'r offeiriaid Pabaidd a drowyd allan ac a ostegwyd. Yr ysgrythur hefyd, yn ol ei gorchymyn hi, a drowyd i'r iaith gyffredin:—ac fel y byddo i ni gynwys y cwbl mewn ychydig eiriau, hi a ddygodd y diwygiad i'r un man, agos, ag yr oedd ar farwolaeth Edward VI.

Fel hyn y darfu i ni ddangos yn gywir ac yn eglur, y'mha fodd, a thrwy ba offerynau y dechreuwyd ac y dygwyd y'mlaen y diwygiad yn y deyrnas hon. Eithr mae'n gymwys dal

* *Yn yr erledigaeth yn nheyrnasiad Mari, amryw o'r Protestaniaid a ddiangasant i wledydd pell: eithr dychwelasant drachefn pan ddaeth Elizabeth i deyrnasu.*

sulw pa wahaniaeth oedd rhwng y ddau hyn o ran eu hagwedd a'u tymer mewn perthynas i'r diwygiad, sef Edward VI. a'r frenhines Elizabeth. Edward VI. wrth farw, oedd yn barnu fod y diwygiad eto yn anmherffaith: ond barn y frenhines Elizabeth oedd, ei fod mor berffaith ag oedd ddymunol. Edward VI. oedd yn bwriadu, pe cawsai amser, ddwyn y diwygiad y'mlaen i ychwaneg o berffeithrwydd: eithr y frenhines Elizabeth oedd hwyrfrydig i ddyfod ag ef i'r man y gadawsai ei brawd o'r blaen. Edward VI. oedd yn hytrach yn myned o flaen y gwyr dysgedig a'r pregethwyr Protestanaidd yn y diwygiad: ond ei chwaer ni chaniatai iddynt ei ddwyn y'mlaen mor bell ag yr ewyllysient.—Y frenhines Elizabeth oedd o'i chalon yn casâu y Pâb, ac am y grefydd Babaidd, yr oedd yn gyflawn ewyllysgar i'w bwrw ymaith: hyny yw, yr oedd hi yn gwbl foddlon i osod heibio yr eulun-addoliaeth a'r pethau mwyaf ffiaidd y mae'r grefydd Babaidd yn gynwys; eithr nid oedd yn gweled yn gymwys nac yn addas gwbl ymadael â'r holl ddefodau a'r seremoniau a arferir yn eglwys Rufain, canys tybied yr oedd y byddai'r addoliad yn rhy noeth a syml oni chedwid rhai o honynt: am hyny, ei barn a'i hopiniwn hi oedd, y dylid cadw cynifer o'r seremoniau Pabaidd ag oeddent berthynasol megis i harddu crefydd, er bod yr ysgrythur yn gwbl ddistaw o'u plegid, ac er nad arferid hwynt yn amser yr apostolion, nac amryw flynyddoedd ar ol eu hymadawiad. Yn gymaint a bod ei serch at y seremoniau mor fawr, a bod y pwer hefyd yn ei llaw hi a barodd gadw yr amryw seremoniau sydd yn

cael eu harfer yn awr yn yr addoliad yn y deyrnas hon; canys megis y darfu iddi hi sefydlu y seremoniau a'r addoliad y pryd hwnw, felly y maent yn sefyll hyd y dydd heddyw.

Y rhan fwyaf o'r gwyr dysgedig a'r pregethwyr Protestanaidd oeddent yn chwenych bwrw ymaith y seremoniau; eithr y frenhines Elizabeth nis ymadawai mwy nac a'i choron ag un o honynt: ie cafwyd mawr boen cyn cael caniatâd ganddi i fwrw y delwau allan o'r llanau: er nas mynai chwaith roddi yr un barch iddynt a'r Pabyddion, eto cyfrif yr oedd y byddai iddynt fod yn harddwch, ac yn rhyw fath o gynhorthwy hefyd i'r addolwyr. Felly, yn gymaint ac mai yn ei phwer hi yr oedd gwneuthur yr esgobion, hi a ddewisodd y cyfryw rai ag a safent i fynu yn wrol dros y seremoniau; ac o herwydd i'w theyrnasiad hi barhau yn hir, hi a gafodd gyflawn odfa i osod y cyfryw rai mewn urddau yn y llanoedd, trwy yr holl deyrnas, ag oeddent o'r un farn a hi mewn perthynas iddynt: yn y modd hwn y seremoniau a sicrhawyd ac a sefydlwyd. Ar hyn, y rhai oeddent anfoddlon i'r seremoniau, pan welsant fod y frenhines a'i hoffeiriaid yn ymroi mor anhydyn i gynal i fynu y defodau Pabaidd yma, a ymddidolasant i wasanaethu Duw, yn neilltuol, yn ol rheol yr ysgrythur yn unig: eithr ni ddarfu iddynt ymneilltuo yn y modd hwn hyd oni adnabuant nad oedd obaith yr ymadawai y frenhines âg un o'r seremoniau; ond Elizabeth oedd gwbl anfoddlon iddynt, a darfu iddi hi a'i hoffeiriaid eu casau, a'u herlid hefyd, gan eu difenwi, eu dirwyo, a'u carcharu. Fel hyn y gwnaeth hi trwy yr holl amser y bu

brenin wrtho, ac a ddanfonwyd at y Pabyddion i'r Iwerddon i geisio eu cynorthwy: a gorchymynwyd iddynt yn enwedigol wneuthur y Protestaniaid yno yn sicr. Felly, yn ddiau, darfu iddynt eu gwneuthur yn sicr ddigon; canys hwy a syrthiasant arnynt yn ddisymwth, ac a laddasant o honynt ddau can' mil: y lladdfa hon a wnaed yn y flwyddyn 1641. Y pethau hyn oll ydynt wir ddiamau megis y mae pawb sydd gydnabyddus â hanes yr amseroedd hyny yn gwybod. Eithr y rhyfel rhwng y brenin a'r *parliament* aeth y'mlaen; ac yn y diwedd y brenin a orchfygwyd, ac a osodwyd i farwolaeth gan Oliver Cromwel, yn y flwyddyn 1648.

Ar ol marwolaeth Charles I. bu 'r deyrnas dan reolaeth y *parliament* ac Oliver Cromwel a'i fab Richard dros ddeuddeng mlynedd. Wedi hyny Charles II. mab Charles I. a ddaeth i deyrnasu. Y brenin hwn, yr un wedd a'i hynafiaid a fu yn teyrnasu o'i flaen ef a erlidiodd y rhai oeddent yn ymwrthod â'r seremoniau yn greulon iawn, gan wneuthur cyfreithiau chwerwon yn eu herbyn. Drwg fuchedd a phob math o aflendid oedd yn rhugl iawn trwy'r holl wlad, tra parhaodd ei deyrnasiad ef. Bu farw yn y flwyddyn 1684, wedi teyrnasu o hono bedair blynedd ar hugain. Yn nesaf at Charles II. ei frawd James a wnaed yn frenin, dan enw James II. Pabydd amlwg cyhoeddus oedd hwn; ac fe ymosododd yn ebrwydd i osod i fynu y grefydd Babaidd yn y deyrnas: eithr y *Prince of Orange*, sef y brenin William a ddaeth mewn pryd ag ymddiffynfa i ni rhag y dymestl ddinystriol oedd

yn bygwth ein gwlad yr amser hwnw; canys y brenin James a fwriwyd ymaith, a'r brenin William a ddewiswyd i deyrnasu yn ei le ef, yn y flwyddyn 1688. Pan ddaeth y brenin William i deyrnasu, cafodd yr Ymneillduwyr ryddid i addoli yn neillduol heb y seremoniau; canys y brenin William a wnaeth gyfraith i'w hamddiffyn rhag y cyfreithiau a wnaed o'r blaen yn eu herbyn; a'r rhyddid yma a gawsant yr amser hwnw, sydd hyd yn hyn yn cael ei ganiatau iddynt.

Bellach, gan hyny, yn gymaint a bod y seremoniau a grybwyllwyd yn achlysur o anghydfod ac amrafael rhwng y Protestaniaid yn y deyrnas hon o ddechreuad y diwygiad hyd yr awr hon, ac yn gymaint a bod dynion yn gyffredin yn ddieithrol i'r pethau hyn, fe fydd i ni yn y lle nesaf roddi hanes fwy neillduol o'r seremoniau yma, gan ddangos pa rai ydynt, a pha amser, a pha fodd y cawsant eu dechreuad.

Y seremoniau a'r defodau y mae'r a'nghydfod o'u plegid, a'r rhai y mae yr Ymneillduwyr yn ymwrthod â hwynt yw y rhai a ganlyn. 1. Arwydd y groes yn y bedydd. Y Pabyddion a arferant yn y bedydd y cyfryw seremoniau a'r rhai'n. 1. Tynir llun y groes dros dalcen a thros ddwyfron yr hwn a fedyddir. 2. Tynghedir yr ysbryd drwg a'i holl bŵer i fyned allan o hono. 3. Gosodir halen ar ei enau ef. 4. Fe gyffyrddir ei ffroenau a'i glustiau â phoeryn. 5. Yr offeiriad a esyd ei law arno i'w fenditbio. 6. Eneinnir ei ddwyfron a'i ysgwyddau âg olew. 7. Irir ei ben ef *âg iraid* cysegredig. 8. Gosodir canwyll gŵyr *wedi ei henyn* yn ei law ef. 9. Ei ben a rwymir

yn rheoli, eithr yn fwy tu ag at ddiwedd ei theyrnasiad. Y rhai a ymneilltuasant, gan ymwrthod â'r seremoniau, a elwid Puritaniaid, megis y mae eu canlynwyr yn awr yn myned dan enw Ymneilltuwyr, Anymddibynwyr, &c.

Yr a'nghydfod y'nghylch y seremoniau a ddechreuodd, fel y dangoswyd yn nheyrnasiad Edward VI. ac fel hyn a barodd yr ymwahaniad a'r a'nghytundeb sydd rhwng y Protestaniaid yn yr ynys hon; yr hwn sydd yn parhau hyd heddyw.

Y frenhines Elizabeth, wedi teyrnasu o honi bedair blynedd a deugain, a fu farw yn y flwyddyn 1602. Yn nesaf daeth James I. i deyrnasu, nai fab nîth ydoedd i'r frenhines Elizabeth: fe fuasai o'r blaen yn frenin ar Scotland yn unig; ac ynddo ef yr unwyd Lloegr a Scotland i fod yn un deyrnas. Y brenin hwn, cyn gynted ag y daeth i deyrnasu ar Loegr, a ddywedodd yn gyhoeddus, yr erlidiai efe y Puritaniaid allan o'r deyrnas, oni byddai iddynt foddloni i arferyd y seremoniau; ac yn hyny fe fu'n gywir i'w air, canys parodd i amryw gannoedd o honynt ymadael o'r wlad a myned i America. Hiliogaeth y rhai'n sydd yn awr yn preswylio yn Lloegr newydd, &c. O ran eu disgyblaeth eglwysig hwy a gyfrifir yn Anymddibynwyr.

Y brenin James I. a fu farw yn y flwyddyn 1625, wedi iddo deyrnasu ar Loegr a Scotland dair blynedd ar hugain. Ei zel mewn crefydd nid oedd ond claiar iawn; canys dywedodd, yr âi efe haner y ffordd yn ewyllysgar i gyfarfod eglwys Rufain, a chaniataodd i'w fab Charles briodi rhyw fath o Jezebel, sef

Pabyddes greulon, merch brenin Ffrainc. Pan fu farw James I. ei fab Charles a goronwyd dan enw Charles I. ac yr ydys yn tybied fod y brenin hwn yn wr o dymer weddol o'i ran ei hun: eithr yn gymaint ac iddo briodi merch brenin Ffrainc nid yw ryfedd os oedd ei deyrnasiad ef yn anhywaeth ac yn greulon. Yn ddiau darfu iddo wneuthur llawer o bethau niweidiol iawn i grefydd ac i'r wladwriaeth: canys rhoddodd ryddid i'r Pabyddion a'r Arminiaid i wasgaru eu hathrawiaeth trwy'r holl deyrnas, ac ni feiddiai neb ysgrifenu na dadlu yn eu herbyn. Parodd hefyd na byddai i neb lyfasu pregethu ar un diwrnod gwaith trwy y flwyddyn. Yn mhellach, darfu iddo ddanfon ei orchymyn yn ysgrifenedig trwy yr holl deyrnas i ganiatau i'r bobl ieuaingc fyned i chwareu a dawnsio ar brydnawnau 'r sabbothau wedi gwrando o honynt y bregeth yn y boreu; canys nid oedd gyfreithlon pregethu ar y sabboth oddieithr yn unig y boreu; a'r offeiriaid oeddent yn rhwymedig, bob un yn ei eglwys-blwyf, i ddarllen yr ysgrifen hono oddiwrth y brenin. Heblaw hyn oll, darfu iddo fyned i godi arian, fel y gwelai fe'n dda, ar y deyrnas, mewn ffordd o dreth, heb gyfraith trwy act o *barliament;* a hyn a roddodd achlysur i'r hîr ryfel a dorodd allan rhyngddo ef a'r *parliament.* Wedi dechreu y rhyfel yma, darfu i'r brenin ddanfon llythyr at y Gwyddelod Pabaidd i'r Iwerddon i geisio eu cymorth yn erbyn y *parliament.* Y llythyr hwn a ysgrifenodd naill a'i 'r brenin ei hun *neu y frenhines* yn ei enw ef; mae'n sicr mai *un o honynt* a'i gwnaeth: gosodwyd sêl y

â chwfl neu folaid wen. Pan wnaed y diwygiad yn Lloegr, arwydd y groes a gadwyd, a hi a gynhelir eto. Ni a ddangosasom o'r blaen y modd y darfu i'r Crist'nogion ddechreu yn gynar iawn sef o ddeutu y flwyddyn 200 ar ol amser Crist, arfer llun y groes ar amryw achosion; eithr yr y'm yn darllen mai y'nghylch y flwyddyn o oed ein Harglwydd 400 y dechreuwyd ei harfer megis rhan sylweddol o'r ordinhad o fedydd, sef y'nghylch amser Pâb Anastasius I.—II. Y tadau a'r mamau bedydd. Y mae eglwys Loegr yn cytuno, gan mwyaf, â'r Bedyddwyr mewn perthynas i fedydd: canys y mae hi yn dal "fod yn rhaid i un gredu ac edifarhau cyn y byddo ganddo hawl i fedydd, ac am hyny, nas gall plant bychain gael eu bedyddio oni b'ai eu bod yn addaw yn gyntaf, trwy eu tadau a'u mamau bedydd, y bydd iddynt gredu ac edifarhau. Yn yr amseroedd gynt, y ddefod oedd fel hyn, gŵr a fa'i ei hun yn gredadyn, os digwyddai iddo gaethweision a morwynion paganaidd neu ddigred, y plant a enid o'r rhai'n y meistr a ymrwymai o flaen y gweinidog a'r gynulleidfa, y byddai iddo eu dwyn i fynu yn grefyddol: ar hyn, yr oeddid yn barnu y gellid eu bedyddio. Hefyd rhieni duwiol a chrefyddol, os digwyddai iddynt farw cyn cael o honynt amser ac odfa i roddi eu plant i'w bedyddio, yna eraill a safent i fynu ac a ymrwyment i eu dwyn i fynu mewn adnabyddiaeth ac arferiad o ddyledswyddau crefydd, felly hwy a fedyddid: eithr yn gyffredinol y rhieni eu hunain a roddent eu plant i'w bedyddio, a hwy a ymrwyment, o flaen y gynulleidfa, i'w dwyn i fynu a'u

maethu yn addysg ac athrawiaeth yr Arglwydd, Eph. 6. 4. Hyn oedd arferedig hyd y flwyddyn o oed Crist 400, sef hyd amser St. Awstin; megis y mae yn amlwg oddiwrth yr hyn sydd ysgrifenedig yn ei lyfrau ef: eithr ar ol talm o amser, fel y cynyddodd llygredigaeth yn eglwys Rufain, y rhieni a lwyr drowyd heibio, a chymerwyd estroniaid yn eu lle. Felly y gwnaed yn Lloegr yn amser Pabyddiaeth, ac ar y diwygiad ni fwriwyd mo'r ddefod hon heibio.—III. Y bedydd-esgob. Y bedydd-esgob neu y *conffirmation*, megis yr arferir yn awr yn Lloegr, a ordeiniwyd gyntaf gan y Pâb Sylvester, y'nghylch y flwyddyn 330.—IV. Yr amryw wisgoedd hynod mae yr offeiriaid neu y gwyr eglwysig yn rhwymedig i'w gwisgo; sef y gynau colerau hirion, y capiau pedair ongl, y siacedau ysgarlad, y gwisgoedd gwynion, a'r cyfryw. Y gwisgiadau hyn a ordeiniodd Pab Stephen, oddeutu'r flwyddyn 260.—V. Yr Ymneillltuwyr, gan mwyaf, ydynt yn anfoddlon i'r agwedd o benlinio wrth gymeryd y sacrament o swper yr Arglwydd. Crist a'i apostolion a'i cymerasant yn y cyfryw ddull ag oedd arferol mewn gwleddau yn yr amser hwnw. Y modd yr ymosodent i fwyta mewn gwleddau yn y wlad hono oedd fel hyn. O amgylch y bwrdd yr oedd tri o welyau-derchafiaid cyfuwch ag ymyl y bwrdd. Y gwleddwyr a'u gosodent eu hunain i lawr ar y gwelyau hyn yn eu lled-orwedd fel yr oedd ysgwyddau y naill yn tueddu at ddwyfron y llall; megis yr ydym yn darllen fod y disgybl *yr oedd* yr Iesu yn ei garu yn pwyso ar ei *ddwyfron* ef ar swper, Ioan 21. 20. a 13. 23.

Eithr yr agwedd hon a drowyd heibio yn yr oesoedd a ganlynasant; canys yn y dyddiau hyn eistedd yr ydys i fwyta mewn gwleddoedd ac ar brydiau eraill. Yr ydys, gan hyny, yn barnu mai yr agwedd gorphorol o eistedd wrth gymeryd swper yr Arglwydd, sydd yn dyfod agosaf at esiampl Crist a'i apostolion. Y Pabyddion, yn gymaint a'u bod yn coelio fod y bara a'r gwin yn cael eu troi yn wir gorph a gwaed Crist, ydynt yn eu haddoli, o achos hyny hwy a benliniant; ac y maent yn rhyfeddu fod y Protestaniaid yn Lloegr, y rhai nid ydynt yn credu y cyfryw beth o blegid y bara a'r gwin nac yn eu haddoli chwaith, eto yn penlinio wrth eu cymeryd. Yr arfer o benlinio wrth gymeryd swper yr Arglwydd a ddechreuwyd, fel y tybir, y'nghylch y flwyddyn 1226, sef yn amser y Pab Honorius III.—VI. Ymgrymu tu ag at yr allor a'r gangell. Yn y gwledydd Pabaidd y ddefod sydd fel hyn: yr offeiriaid a gysegrant fara a gwin, y rhai osodir goruwch yr allor, nos a dydd trwy 'r flwyddyn; eithr yr elfenau cyssegredig hyn a newidir bob pymtheng niwrnod: hefyd, ar lofft y grog, rhwng corph y llan a'r gangell, y mae llun y groes ac amryw ddelwau wedi eu gosod i fynu. Felly, yn gymaint a bod y Pabyddion yn credu fod y bara a'r gwin pan eu cyssegrer yn cael eu troi yn wir gorph a gwaed Crist; ac yn gymaint a'u bod yn addoli llun y groes a'r delwau, y maent hwy yn tybied eu bod yn rhwymedig pan ddelont i mewn i'r llan i ymgrymu tu ag at y rhai'n. Er i'r eulunod hyn, trwy y diwygiad gael eu bwrw ymaith, eto y mae rhai dynion trwy draddodiad

yn cynal y ddefod hyd yr awr hon. Y bwrdd hefyd y maent yn alw yn allor, megis ac y gelwid gynt pan oedd yr offeiriaid Pabaidd yn cymeryd arnynt aberthu corph Crist arno yn offrwm dros y byw a'r meirw.—VII. Darllen yr Apocrypha yn gyhoeddus yn y llanoedd yn lle rhanau o'r ysgrythur.—VIII. Cadw dyddiau gwylion. Heblaw dydd yr Arglwydd neu'r sabboth, y mae llawer iawn o ddyddiau eraill wedi eu gosod heibio a alwant gwyliau: a phan wnaed y diwygiad yma yn Lloegr ni lwyr fwriwyd y rhai'n ymaith; canys y gwyliau canlynol a gynhelir eto; sef, 1. Dydd Nadolig neu ddydd genedigaeth Crist. Yr wyl hon a gynhelir yn awr ar y pumed ar hugain o fis Rhagfyr. Felly, yn y weddi bwyntiedig ar y diwrnod, yr ydys yn diolch i Dduw am roddi ei unig-anedig fab i gael ei eni o forwyn bur megis ar yr amser neu'r dydd hwn: eithr sicr yw, mai nid y dydd hwn yw yr hwn y ganwyd Crist arno: canys y diwrnod sydd wedi symmud* ysbaid llawer o ddyddiau o'r lle yr oedd 1800 o flynyddoedd o'r blaen pryd yr ymddangosodd Crist yn y cnawd; megis y mae yn dra hysbys i bawb sydd yn deall cwrs yr amserau. Rhyw fath o hereticiaid a ddechreuasant gadw yr wyl hon gyntaf, sef canlynwyr yr heretic Basilides, y'nghylch y flwyddyn o oed Crist 200: eithr o ddeutu'r flwyddyn 400, dechreuwyd ei chadw yn fwy cyffredinol, sef yn amser y Pâb Anastasius. 2. Dydd gwyl

* Y dyddiau yn y blynyddoedd ydynt yn cyfateb y naill i'r llall *pan byddo yr* haul wedi dyfod i'r un man bob blwyddyn yn y lein *ecliptic; a'r* symudiad a grybwyllwyd sydd yn digwydd o herwydd *yr ychwanegiad* a wneir o ddiwrnod cyfan bob blwyddyn naid.

Stephen ferthyr. Yr wyl hon a ordeiniwyd o ddeutu amser Pab Ffelix, yn y flwyddyn 350. 3. Dydd gwyl Ioan yr efengylwr. Pab Innocentius IV. a ordeiniodd gadw yr wyl hon yn y flwyddyn 1254. 4. Dydd gwyl y gwirioniaid. Pab Innocentius hefyd a appwyntiodd gadw y dydd hwn. 5. Dydd gwyl yr enwaediad. Yr un Pab a roddodd ddechreuad i'r wyl hon. 6. Dydd gwyl ystwyll neu ysgwyll. Y'nghylch yr un amser y dechreuwyd cadw yr wyl hon a'r Nadolig: hi a gedwir er coffadwriaeth o ddyfodiad y doethion, trwy gyfarwyddiad y seren, i anerch Crist. 7. Dydd gwyl troadigaeth St. Paul. Hon hefyd a ordeiniodd Innocentius IV. Darfu i'r Pab hwn ysgymuno Ffredric II. emprwr Germani; amcanodd hefyd trwy wobr, beri i'w feddygon ei wenwyno ef. 8. Dydd gwyl puredigaeth y forwyn Fair, hi a elwir dydd gwyl Fair y canwyllau, o herwydd i'r Pab Sergius III. y'nghylch y flwyddyn o oed Crist 900, ordeinio i'r bobl ddwyn lampau a chanwyllau yn eu dwylo ar y diwrnod yma i arwyddocau puredigaeth y forwyn Fair. Y Pab hwn sydd hynod mewn hanesyddiaeth o blegid ei odineb a'i ffiaidd ymarweddiad. 9. Y mae yspaid deugain niwrnod a gyfrifir yn sanctaidd. Y Cymry a'i galwant y Grawys neu Garw-wŷs, oblegid y gwael ymborth* a arferid tra parhai y dyddiau hyn, canys amser ympryd yw. Yr achlysur a roddodd ddechreuad i'r ympryd hwn oedd fel hyn; Crist a

* Isgell gwael a chawl. Y Cymry gynt, pan oedd Pabyddiaeth yn y wlad, cyn gynted ag yr âi'r amser hwn heibio, a gynhalient ryw fath o gampau a chwareuon mewn ffordd o orfoledd. Y chwareuon hyn a gynhelir mewn rhai manau eto.

ddywedasai mewn atebiad i ddisgyblion Ioan Fedyddiwr, Y dyddiau a ddaw pan ddyger y priod-fab oddi arnynt, ac yna yr ymprydiant. Mat. 9. 15. Ei feddwl oedd mai amser trallod yw yr amser mwyaf cyfaddas i ymprydio; a bod yr amser hwn eto yn ol i'w ddisgyblion ef; canys ar ol ei dderchafiad ef i'r nef, hwy a gyfarfuant â'r cyfryw driniaeth anmharchus oddiwrth y byd annuwiol. Gweddi ac ympryd ydynt foddion arbenig i orchfygu y profedigaethau chwerwaf. Eithr y Crist'nogion yn yr hen oesoedd oeddent yn deall meddwl Crist fel hyn; sef, mai'r amser y dygid y priod-fab, oedd yr yspaid o amser o'r pryd y bradychodd Judas ef hyd ei adgyfodiad oddi wrth y meirw. Hefyd, tybied yr oeddent fod y geiriau yn cynwys gorchymyn, nid yn unig i'w ddisgyblion ef, ond hefyd i'r Crist'nogion oll hyd ddiwedd y byd, i ymprydio dros y ddau neu dri diwrnod hyny: am hyny eu harfer oedd bob blwyddyn, ymprydio y ddau ddiwrnod nesaf at y Pasg. Fel hyn y gwnaent y'nghylch y flwyddyn o oed Crist 200. Eithr yn yr oesoedd ar ol hyny yr ympryd a estynwyd i wythnos, a mis; ac o'r diwedd, megis y cynyddodd coel-grefydd, i chwech wythnos neu ddeugain niwrnod. Yr ympryd hwn a gynhelir i fyny gyda mawr zêl, yn enwedig yn eglwys Rufain, hyd heddyw. 10. Dydd gwyl Mathias. Y dydd hwn a gedwid yn sanctaidd trwy ordinhad Pâb Innocentius IV. 11. Dydd gwyl Fair y cyhydedd. Y'nghylch yr un amser y dechreuwyd cadw yr wyl hon a'r Nadolig: yr oedd yr enw yn gryn berth'nasol, canys y cyhydedd oedd o fewn ychydig ddyddiau i'r pumed ar

hugain o Fawrth, ar yr hwn y cedwir hi. Y dydd hwn a saith o ddiwrnodau eraill yn y flwyddyn a geidw y Pabyddion yn sanctaidd er mwyn y forwyn Fair. 12. Dydd gwyl St. Marc. Y dydd hwn a appwyntiwyd i'w gadw yn sanctaidd gan y Pâb Innocentius IV. 13. Dydd gwyl St. Philip a St. Iago. Y Cymry er's agos i un cant ar bymtheg o flynyddoedd, sef y pryd y cawsant eu llwyr orchfygu gan emprwr Rhufain, a alwant y dydd hwn Calan-mâi, hyny yw y dydd cyntaf o Fai.* Er i'r Pâb Innocentius IV. ordeinio gwyl Philip a Iago i gael ei chadw ar y dydd hwn, eto hwy hyd yr awr hon a alwant y diwrnod fynychaf wrth yr hen enw. 14. Dydd gwyl St. Barnabas; o appwyntiad Innocentius IV. 15. Dydd gwyl Ioan Fedyddiwr. Fe ddywedir, Luc 1. 14. Llawer a lawenychant am ei enedigaeth ef; ac yn Ioan 5. 35. Efe oedd ganwyll yn goleuo, a chwithau oeddych ewyllysgar i orfoleddu tros amser yn ei oleuni ef. Y Pabyddion a gymerant achlysur oddiwrth y geiriau hyn i gynal gwyl flynyddol ar y dydd hwn er coffadwriaeth o Ioan fedyddiwr. Y diwrnod a dreuliant mewn wtres a gloddest a phob math o ddifyrwch. Y Cymry hefyd, mewn rhai manau, ydynt yn cynal rhyw beth o'r cyffelyb hydheddyw; canys eu harfer yw gwneuthur rhyw fath o dân gorfoledd (*bonfire*) a bloeddio ar y diwrnod hwn. 16. Dydd gwyl Bedr.

* Yr hen Rufeiniaid a alwent y dydd cyntaf o bob mis Calendæ; a'r Cymry gan eu dynwared a'i galwent Calan. Y mae rhyw weddillion o'r peth eto; canys fe elwir y dydd cyntaf o Ionawr Calan, y dydd cyntaf o Dachwedd Calan-gauaf, a'r dydd cyntaf o Hydref neu hyddfre (q. hy-ddyfre) Calan-hydref; megis y dywedid gynt, "Calan hyddfre cain cynnywyre," hyny yw eglur foreuau.

17. Dydd gwyl St. Iago. 18. Dydd gwyl St. Bartholomeus. 19. Dydd gwyl St. Matthew. Y dyddiau hyn hefyd a osodwyd heibio i'w cadw yn sanctaidd trwy awdurdod a gorchymyn Pâb Innocentius IV. 20. Y mae hefyd wyl dra hynod, yn enwedig y'mysg y Cymry, yr hon elwir gwyl y Grog neu'r groes.* 21. Dydd gwyl Mihangel. Y mae hen draddodiad yn mysg y Pabyddion i'r archangel Michael neu Mihangel, ymddangos yn fynych iawn mewn amryw fanau ar ol ymadawiad Crist a'r apostolion, a gwneuthur llawer o wyrthiau hynod: ac o herwydd y mawr barch oedd ganddynt i'r angel hwn, heblaw ei wneuthur megis ymddiffynwr o lawer o lanoedd, hwy a osodasant heibio ddiwrnod o'r flwyddyn i'w gadw yn sanctaidd er anrhydedd iddo. Y pryd y dechreuwyd cadw yr wyl hon oedd y'nghylch y flwyddyn 500; sef yn amser Pâb Ffelix III. 22. Gwyl yr holl saint. Yr wyl hon a ordeiniwyd at wneuthur coffadwriaeth o'r holl saint a fuant feirw, a deisyf rhan a hawl yn eu heiriolaeth hwy. Hi a appwyntiwyd gyntaf gan y Pâb Gregori IV. y'nghylch y flwyddyn

* Y modd cafodd yr wyl hon ei dechreuad oedd fel hyn: y Pabyddion sy'n dywedyd i'r pren y croeshoeliwyd Crist arno gael ei guddio yn y ddaear, mewn lle dirgel, o wir ddirmyg i'w ddisgyblion a'i ganlynwyr ef; eithr yn mhen tri chant o flynyddoedd, mewn rhyw fodd rhyfeddol, y groes a gafwyd ac a gyfodwyd o'r pridd yn ddien ac yn ddurfing, ac a osodwyd i'w chadw yn Jerusalem megys RELIC gwerthfawr; ac yno y bu hi hyd y'nghylch y flwyddyn 600. Y pryd hyny, Cosroes brenin Persia yr hwn oedd ryfelwr mawr, a enillodd Jerusalem ac a wnaeth anrhaith o honi, ac a ddygodd ymaith y groes y'mysg yr ysglyfaeth: ond darfu Heraclius emprwr Constantinopl ryfela â brenin Persia a'i orchfygu, a dwyn y groes yn ol, a'i gosod i fynu lle buasai o'r blaen yn Jerusalem. Er coffadwraeth o'r fuddugoliaeth a'r waredigaeth, y Pabyddion ydynt fyth yn cadw yr wyl hon, dan enw Festum *exaltationis S. Crucis.*

830. Darfu i'r Pâb hwn anog meibion brenin Ffrainc i wrthryfela yn erbyn eu tad. 23. Dydd gwyl yr eneidiau. Yr wyl hon hefyd ni's llwyr anghofiwyd yn Nghymru eto. Pâb Ioan XIX. a orchymynodd gadw y diwrnod hwn tu ag at weddio tros yr eneidiau yn y purdan, oddeutu y flwyddyn 1005, y Pâb hwn oedd dra hynod mewn dewiniaeth a chonsurïaeth. 24. Dydd gwyl St. Luc. 25. Dydd gwyl St. Andreas. 26. St. Thomas. Y tair gwyl hyn hefyd ydynt o appwyntiad Pâb Innocentius IV. y'nghylch y flwyddyn o oed ein Harglwydd 1254.—IX. Yr arferiad o offer cerdd yn ngwasanaeth Duw. Y'mhob esgobaeth y mae ond odid un llan, sef y llan benaf, âg organ ynddi: yno mae y cyfryw drefn a hyn:—1. Y mae y'nghylch deuddeg o offeiriaid a elwir ficeriaid.—2. Y mae o un ar bymtheg i bedwar ar hugain o offeiriaid eraill a elwir prebendariaid.—3. Y mae hefyd râdd arall o offeiriaid a elwir canonau.—4. Goruwch y rhai hyn oll y mae un gwr yn ben ac yn flaenor: hwn a elwir dëon. Y gwaith sydd yn gorwedd ar y rhai'n yn benaf, yw ymgynull ddwy waith yn y dydd, sef foreu a phrydnawn, trwy 'r holl flwyddyn, i gyflawni math o wasanaeth a elwir *qiure*. Gwasanaeth y *quire*, y cyfryw a hyn ydyw:—1. Darllenir rhai penodau o'r ysgrythur. 2. Fe ddywedir y gyffes gyffredinol, a'r weddi a elwir *absolution*. Y rhai hyn a ddywedir heb eu canu. 3. Y salmau darllen, gweddi'r Arglwydd, y credo, yr anthemau, ac amryw weddiau eraill sy n y *common-prayer*, er nad ydynt gynghaneddol neu ar fesur cerdd eto eu canu yn uchel a

wnant gyda'r organ. Yr hwn a lefelodd y cyfryw arferiad o'r organ gyntaf oedd Pab Vitalianus, y'nghylch y flwyddyn 660. Ymffrostiodd iddo ef ddysgu i'r bobl wasanaethu a moliannu Duw â phibau. Eithr er i'r Pabyddion ddechreu gosod i fynu y cyfryw wasanaeth y pryd hwnw, eto nid arferid mo'r organ ond mewn ambell fan dros ysbaid llawer cant o flwyddi ar ol hyn. Canys y Pabydd hynod Thomas Aquinas, yr hwn oedd yn byw o ddeutu y flwyddyn 1270, a ddywed yn ei lyfr, nad oedd dim offerynau cerdd yn cael eu harfer mewn addoliad crefyddol yn ei amser ef. Y mae'n amlwg gan hyny, mai rhyw bryd ar ol amser y gwr hwn y daeth yr organ a'r cyfryw offerynau i fod mor rhugl yn y byd ag y maent yn awr. Canys crefydd a defosiwn y Pabyddion sydd yn sefyll mewn mesur mawr yn y cyfryw bethau.—X. Heblaw y pethau a grybwyllwyd, y mae hefyd anghytundeb rhwng Protestaniaid y deyrnas hon oblegid ffurf-weddiau: hyny yw gweddiau a wneir neu a gyfansoddir gan ryw un, ac a osodir allan i'w harfer gan bawb yn gyhoeddus a neilltuol; y cyfryw beth ag yw y *common-prayer* neu y ffurf-weddi gyffredin. Nid yw rhai Ymneilltuwyr 'chwaith yn gwbl ac yn hollawl yn erbyn ffurf o weddi; canys y maent yn caniatau ac yn ewyllysio i rai gweiniaid arferyd y cyfryw gynorthwyadau; sef yn unig hyd oni byddo iddynt gyrhaedd y cyfryw fesur o wybodaeth, profiad, ac adnabyddiaeth o honynt eu hunain ac a fo gyfaddas tu ag at allael o honynt *dywallt* eu herfyniadau yn berth'nasol ac yn *weddaidd* o flaen Duw. Y ffyddloniaid tan y

gyfraith, cyn dyfodiad Crist, a weddient heb ffurf. Hyn sydd amlwg oddiwrth y cyngor neu'r gorchymyn y mae Solomon yn ei roddi, "Na fydd ry brysur â'th enau, ac na frysied dy galon i draethu dim ger bron Duw, canys Duw sydd yn y nefoedd, a thithau sydd ar y ddaear, ac am hyny bydded dy eiriau yn anaml."* Preg. 5. 2. Pe buasai ganddynt ffurf i weddio wrthynt yn yr amser hwnw, fe fuasai y cyfryw gyngor yn gwbl anfuddiol ac anmherthynol; canys ni allasai eu geiriau yn eu gweddi fod ddim mwy na llai na'r hyn a fuasai yn ysgrifenedig o'u blaen. Ac nad oedd yr eglwys Iuddewig yn gweddio wrth ffurf neu o lyfr, y pryd yr ymddangosodd Crist yn y cnawd, nid yw anhawdd i ni gasglu oddiwrth yr hyn yr ydym yn ei ddarllen yn Luc 18. 9, 13. Yn y lle hwn y mae ein Iachawdwr yn gosod allan y Pharisead yn gweddio heb ffurf:† canys yn ei weddi y mae efe yn cymeryd achlysur, trwy ganfod y Publican yr hwn ar ddamwain a ddaeth i addoli ar yr un amser, (canys o'i fodd ni ddaethai efe yn agos i'r cyfryw ddyn) i roddi diolch i Dduw am yr amryw rinweddau da oedd ynddo ef goruwch y Publican; yr hyn

* O herwydd mor dueddol yw y meddyliau i grwydro a'r galon i lesgau yn y cyfryw ddyledswydd, bydded dy eiriau yn ychydig ac yn anaml, yn dy weddi bydd fyr. Eithr pan gyrhaeddom y cyfryw ddawn a gallael o honom orchfygu y llwgr hwn, ein dyledswydd oll yw ymdrechu am gyrhaeddyd y cyfryw ddawn a allom; ac ni a ddylem fod megis yn wresog, felly hefyd weithiau yn hir. Nehem. 9. 3. Dan. 9. 3, 20. Luc 6. 12.

† Os heb ffurf y gweddiai y Phariseaid, diamau yw mai barn yr Iuddewon yn gyffredin oedd mai heb ffurf y dylid gweddio; canys sicr yw fod y Phariseaid, yn gymaint a'u bod yn caru ac yn ceisio canmoliaeth dynion yn benaf, yn gweddio yn y cyfryw ddull ag a gyfrifid gan bawb yn fwyaf crefyddol a defosionol.

beth, pe buasai wedi ei rwymo wrth ffurf, ni's gallasai wneuthur. Yn y brif-eglwys* hefyd, eu harfer oedd gweddio heb ffurf. Hyn sydd amlwg ac eglur oddiwrth yr hyn sydd ysgrifenedig yn llyfrau y gwyr dysgedig oeddent yn byw yn y dyddiau hyny.† Yn nghylch y flwyddyn 370, yr ydym yn darllen fod ffurfiau yn dechreu cael eu harfer, eithr mewn rhai manau; canys y mae yn eglur oddiwrth yr hyn y mae St. Awstin yn ysgrifenu, y'nghylch y flwyddyn 400 fod y Crist'nogion yn gyffredin yn ei amser ef yn gweddio heb ffurf, pob un yn ol y mesur o ddawn a gyrhaeddasai.

Y mae'n gymwys i ni eto ddwyn ar gof, y modd y dangosasom, i eglwys Rhufain ddechreu dirywio yn gynar iawn; ïe dechreuodd ymadael â symlrwydd yr efengyl yn mhen ychydig o flynyddoedd ar ol ymadawiad yr apostolion: ac o hyny hyd yr awr hon darfu iddi fyned yn wastadol ar ei gwaeth. Megis yr oedd hi yn cynyddu mewn llygredigaeth a choel-grefydd, felly yr oedd hi hefyd yn lledanu ei meistrolaeth dros yr eglwysi oddi amgylch; fel y darfu i esgob Rhufain, sef y Pab, o'r diwedd, y'nghylch y flwyddyn 600, gael ei ddeclario yn ben-esgob dros holl eglwysi'r byd. Rhufain oedd megis yr efail neu y gweith-dŷ mawr lle y llyfelwyd ac y ffurfiwyd y seremoniau a'r defodau coel-grefyddol ac

* Y brif-eglwys y gelwir yr eglwys Grist'nogol tra parhaodd yn bur, sef tros y'nghylch can ' mlynedd ar ol amser yr apostolion.

† Justin Martyr, Tertulian ac Origen, y rhai oeddent yn byw o ddeutu'r flwyddyn 200, sy'n dywedyd fod y Crist'nogion yr amser hwnw yn gweddio trwy osod ar waith eu deall a holl bwerau y galon. *Tertulian* a ddywed "Ein harfer ni y Crist'nogion wrth weddio yw *dyrchafu'n golygon tu a'r nef, a'n penau yn noethion, yna gweddiwn heb lyfr, trwy* osod holl bwerau a chyneddfau ein heneidiau ar waith;

eulun-addolgar a lygrasant yr eglwysi trwy yr holl wledydd. Beth bynag a ordeiniai'r Pâb, nid oedd gwrthod mo hono dan boen ysgymundod. Yn eglwys Rhufain hefyd y dyfeisiwyd ac y cyfansoddwyd ffurf-weddiau yn aneirif: nid yn unig at y Duw Hollalluog, ond hefyd at yr angelion, Mair, a'r seintiau; ie llawer mynychach y gweddient at y rhai'n nac at Dduw ei hun.

Ni a ddangosasom eisoes fod y wlad hon hefyd gynt dan feistrolaeth y Pâb, ac i'r grefydd Babaidd gael ei chynal i fynu yma yn mhob pwngc o honi hyd deyrnasiad Harri VIII. ac Edward VI. pryd y gwnaed y diwygiad; cyn hyny yr oedd yr ysgrythur yn yr iaith Llading, a'r offeiriaid Pabaidd a ro'ent y cyfryw ddeongliad o honi ag a welent hwy yn dda i'r bobl gyffredin: felly gorchymynion y Pâb, a'r ysgrythur wedi ei gŵyr-droi, oedd y rheol a osodid i ddynion i fyw wrthi yn yr amseroedd hyny: eithr pan wnaed y diwygiad, bwriwyd ymaith reolaeth y Pâb, a'r ysgrythur a gyfieithwyd. Tra fu y grefydd Babaidd yn y wlad, yr oeddid yn addoli yn wastadol wrth ffurf; a'u ffurfiau oeddent oll yn Lladiug, ac yn lluosog iawn. Y ffurf-weddiau neu'r *common-prayer* Pabaidd yw llyfr y *mass*, y *missal*, a'r *breviary*; ond pan wnaed y diwygiad y rhai hyn a gyfieithwyd ac a ddiwygiwyd, megis y crybwyllwyd o'r blaen dan deyrnasiad Edward VI.

Yn awr, yn gymaint a darfod i ni roddi cyfrif neillduol o'r pethau a berthyn i'r diwygiad, fe fydd i ni roddi býr hanes o'r dull y diwygiwyd yr addoliad, sef y modd y cyfansoddwyd ac y trefnwyd y *common-prayer* a arferir yn awr

yn y deyrnas hon. Y ffurf-weddi gyffredin a ddechreuir trwy adrodd rhai gwersau a ddewiswyd ac a gasglwyd allan o'r ysgrythur, "Pan ddychwelo yr annuwiol oddiwrth ei ddrygioni, &c." 1. Am y gwersau hyn, os ydynt oll yn llyfr y *mass* a'r *breviary*, nid ydynt i'w gweled yn yr un drefn ag y maent yma. 2. Y rhagymadrodd i'r gyffes gyffredin, sef Anwyl gariadus frodyr, &c. a wnaed gan y diwygwyr; hwy hefyd a wnaethant y weddi hono a elwir y gyffes gyffredin; canys yr oeddent yn gweled yn gymmwys gael o'r gwasanaeth ei ddechreu trwy wneuthur cyfaddefiad cyffredinol o bechod. 3. Yn amser y diwygiad hefyd y gwnaed y weddi nesaf, sef yr *absolution;* canys yn gymaint a bod yr offeiriaid Pabaidd ar ol i'r bobl gyfaddef eu pechodau, yn dywedyd y geiriau hyn, "Yr wyf yn eich rhyddhau chwi oddiwrth eich holl bechodau," fe farnwyd yn fwy cymwys wneuthur y weddi hon, i'w dywedyd ar ol y gyffes gyffredin. 4. Y *pater-noster* neu weddi yr Arglwydd a ddywedir yn fynych iawn yn y gwasanaeth Pabaidd; ac odid o weddi a ddywedir fynychach oddieithr yr *afe Maria.* 5. Y deisyfiadau byrion a ddywedir nesaf at weddi yr Arglwydd ydynt i'w gweled yn y *missal.* 6. Y Salm "Deuwch, canwn i'r Arglwydd, &c." a'r holl Salmau eraill yn eu trefn a ddarllenir ac a genir y'ngwasanaeth y *missal* a'r *breviary.* 7. Y wers fér a alwant *gloria patri,* sef, "Gogoniant i'r tad, &c. Fel y bu yn y dechreuad, &c." a arferir yn dra mynych y'ngwasanaeth y *mass;* yn enwedig ar ddiwedd pob Salm. Hi a ordeiniwyd ac a arferwyd gyntaf gan y Pâb Damascus, wrth

ddewis yr hwn, darfu i'r bobl wneuthur galanastra y'mysg eu gilydd, megis y crybwyllwyd. 8. Y Pabyddion hwythau yn eu gwasanaeth a ddarllenant lithiau (sef rhanau o benodau fynychaf) o'r Bibl Llading: pa fath ydyw, cawsom achlysur i ddangos o'r blaen. 9. Yr hymn neu'r gân a elwir *te Deum*, "Tydi Dduw a folwn, &c." a chân y tri llangc, a arferid yn y ffurfiau cyhoeddus er pan ddechreuwyd arfer ffurfiau gyntaf. 10. Y rhan honno o'r ysgrythur "Bendigedig fyddo Arglwydd Dduw Israel, &c." Luc 1. 68, 69. y ganfed Salm, y credo, gweddi'r Arglwydd a'r deisyfiadau byrion a ganlyn, a'r *colect* am heddwch ydynt oll yn y *breviary* a'r *missal*. Yr heretic hynod Peter Fulo a osododd i fynu gyntaf yr arfer o ddywedyd y Credo yn y gwasanaeth cyhoeddus, y'nghylch y flwyddyn 500. 11. Y *colectau* a ganlyn hyd ddiwedd y foreuol-weddi a wnaed gan gyfansoddwyr y *common-prayer*, oddieithr yr hon sydd ar enw Chrysostom, gan adael heibio y gweddiau sydd yn y *mass* at y forwyn Fair a'r seintiau. 12. Y *litani* a gymerwyd allan air yn air, gan mwyaf, o'r *missal* a'r *breviary*; megis y mae'n amlwg o'r *missal* hynod a argraffwyd yn Lloegr y'nghylch y flwyddyn 1508; sef yn amser teyrnasiad Harri VII. y *litani* a wnaed ac a ordeiniwyd gan y Pab Gregori, o ddeutu'r flwyddyn 600. Hwn oedd y Pab cyntaf a gymerodd arno faddeu pechod. 13. Credo Athanasius, a'r rhanau sathredig o'r Testament newydd ydynt arferedig hefyd y'ngwasanaeth y *mass*. Tra darllenir y rhai'n y gwrandawyr a safant, megis yr ordeiniodd Pab Anastasius, y'nghylch y flwyddyn

400. Y *colectau* neu'r gweddiau byrion priodol i bob sabboth, a wnaed yn amser y diwygiad. 14. Y brydnawnol-weddi neu'r gosper, sy'n dechreu fel y foreuol-weddi, ac yn cynwys yr un ffurfiau gan mwyaf. 15. Cân y fendigedig forwyn Fair, Luc I. 46. "Y mae fy enaid yn mawrhau yr Arglwydd, &c." Salm 98. "Cenwch i'r Arglwydd ganiad newydd, &c." Cân Simeon, Luc 2. 29. "Yr awr hon, Arglwydd, y gollyngi dy was mewn tangnefedd, &c." Salm 67. "Duw a drugarhao wrthym, ac a'n bendithio, &c." a dau o'r *colectau* hefyd ydynt yn llyfr y *mass*. 16 Y gweddiau o ymbiliau a diolchgarwch ar amryw achosion ar ol y *litani* ydynt newydd; oddieithr un a gymerwyd o'r *missal*. 17. Y *cyrieleison*, sef adddybliad yr ymbiliau, "Arglwydd trugarha wrthym, Crist trugarha wrthym," a ordeiniwyd gan y Pab Gregori* a grybwyllwyd. 18. Y mae i ni hefyd ddal sulw fod y gwasanaeth neu'r addoliad yn ol trefn y *common-prayer* yn cael ei gyflawni mewn ffordd o *antiphoni* neu bob yn ail. Yr achlysur a gafwyd i gymeryd y ffordd hon i addoli sydd dra hynod a digrif: rhyw un gynt a welodd mewn breuddwyd, yr angelion yn y nef yn clodfori Duw ar gylch, rhai megis yn ateb y lleill: cymerodd fawr hyfrydwch yn y peth, a barnoddd mai da a fyddai wneuthur o hono ei oreu ar i Dduw gael ei addoli yn yr un modd ar y ddaear hefyd. Felly darfu iddo dyccio gyda rhai eglwysi i weddio ac i ganu mawl yn gylchynol. Y dull

* *Y Pâb* hwn a appwyntiodd i'r archau hyn gael eu dywedyd yn *gysou naw gwaith* yr un amser: ordeiniodd hefyd i'r gair Haleluia, *hyny yw molwch* yr Arglwydd, gael ei ddywedyd gynifer o weithiau.

yma a gymerwyd i fynu yn ebrwydd yn eglwys Rufain, ac a gynhelir hyd yr awr hon; ni cyfrif y Pabyddion fod eu haddoliad yn cael ei gyflawni yn drefnus hebddo. 19. Ar bob dydd gwyl arferir *colect* neu weddi fer berthynol i'r diwrnod:—yn y weddi hon gwneir coffhad o'r sant er coffadwriaeth o'r hwn y cedwir yr wyl, yn y *common-prayer* Pabaidd yr ydys yn gweddio at y sant ei hun, ac at Dduw hefyd am hawl yn eiriolaeth y cyfryw sant: eithr yn y diwygiad fe wnaed peth cyfnewidiad yn y *colectau* yma; canys gweddïir yn awr yn unig am ras i ddilyn esamplau da y cyfryw seintiau y cedwir gwyliau iddynt; eto cymerwyd pedwar neu bump o honynt air yn air allan o'r *mass* neu'r *breviary* Pabaidd. 20. Ar y dyddiau gwylion hefyd darllenir rhanau priodol o'r epistolau, a'r efengylwyr. Y ddefod hon a osodwyd i fynu y'nghylch y flwyddyn 800, sef yn amser Pab Leo III. Y Pabyddion a adroddant bethau ardderchog a godidog iawn oblegid y Leo* yma: ac yn ddiau odid un a eisteddodd erioed yn y gadair Babaidd, a ddangosodd y fath arwydd o ryfyg a balchder a'r Pab hwn; canys rhyfygodd roddi yr ymerodraeth Rufeinaidd, megis trwy ei awdurdod apostolaidd, i Charles le Magne, brenin Ffrainc. Nid yw eu chwedlau ffuantus celwyddog, llawer mil o

* Yr hen hanesion Pabaidd o blegid y Pab hwn a soniant am ryw wyrthiau mawrion a nodedig, megis y cyfryw a hyn; ryw amser, ei elynion a gynllwynasant yn ei erbyn ac a'i daliasant; ac wedi iddynt ei drin yn dra anmharchus, gan ei faeddu a'i bwyo, ie a thynu ei ddau lygad a thori ymaith ei dafod, hwy a'i gadawsant yn haner marw; ond cafodd gymorth oddi uchod; canys ei olygon a'i ymadrodd a adferwyd iddo drachefn mewn modd rhyfeddol a goruwch-naturiol, trwy eirfolaeth y sanctaidd apostolion.

ba rai a fedrant hwy adrodd, ddim ond dychymygion dichellgar yr offeiriaid Pabaidd, trwy'r hyn y chwenychant dderchafu a mawrygu y Pab y'mysg y cyffredin-bobl, y rhai y maent yn eu cam-arwain ac yn eu twyllo, mewn modd gresynol a thosturus.

Am yr eulun hwn, sef y Pab, yr hwn maent yn ei dderchafu mor fawr, gan ei alw yn bendysgawdwr, pen yr eglwys, dylyniawdr St. Pedr, rhaglaw Iesu Grist ar y ddaear, &c. yn ddiau, gelyn creulon i wir bobl Dduw, a'r gwrthwynebwr penaf i deyrnas Crist ydyw: am hyny, nid heb achos yr ydym yn barnu, mai hwn yn sicr yw yr anghrist mawr a ragddywedodd yr apostolion ei fod y pryd hwnw ar ddyfod, a disgwyl yr ydym hellach beunydd am ei gwymp, canys y mae ei bwer yn gwanhau, a'i deyrnas yn siglo er's rhai oesoedd: ei farnedigaeth nid yw segur, a'i golledigaeth nid yw yn hepian; a dyledswydd pawb ydynt ewyllyswyr da i Sïon, yw dyfal weddio a disgwyl am gyflawniad o'r bygythion a daranwyd yn ei erbyn. Yn y cyfamser, ymgadwn yn ddihalog, gan lwyr ymadael â'i gymdeithas ef:--ystyriwn y rhybudd a'r gorchymyn a roddir i ni i gilio allan o'r Babilon Rufeinaidd, fel na byddom gyd-gyfranogion o'i phechodau hi, ac na dderbyniom o'i phläau hi: Dat. 18. 4. a llwyr lynwn wrth ddilyth reol yr ysgrythur sanctaidd; canys "cynifer ag a rodiant yn ol y rheol hon, tangnefedd arnynt a thrugaredd, ac ar Israel Duw." Gal. 6. 16.

DIWEDD.



Argraffwyd gan P. Evans.

